96

# GWEDDILLION Y GORLIFIAD:

—SEF—

# GWEITHIAU BARDDONOL

Y PARCH. D. C. PHILLIPS,

(CELYDDON).

Poetry is itself a thing of God;
He made his prophets poets, and the more
We feel of poesy, do we become
Like God in love and power-"

BAILEY.

UTICA, N. Y.

T. J. GRIFFITHS, ARGRAFFYDD, 131 GENESEE ST.

1891.

# Y CYFLWYNIAD.

---

I'W BRIOD, MARY,

A'I BLANT,

MARTHA, ARTHUR, DAVID A ROSWELL,

Y CYFLWYNIR

Y "GWEITHIAU BARDDONOL" HYN,

FEL ADGOF O'U

GWAREDIGAETH RAGLUNIAETHOL

HWY A'R AWDWR O DDINYSTR JOHNSTOWN, MAI 31, 1889.

# RHAGYMADRODD.

HYNAWS DDARLLENYDD:

Yn 1873, blwyddyn cyn ymadawiad yr awdwr a Chymru, cyhoeddodd gyfrol o farddoniaeth dan yr enw "Cerddi Celyddon,' a chafodd dderbyniad croesawgar iawn; ac y mae ar werth yno yn awr. Mae adolygiad y diweddar Barch. William Thomas (*Islwyn*) arni fel y canlyn:

"Er nad yw Celyddon ond pur ieuanc, y mae efe wedi profi ei hun yn fardd o uchel awen, ac wedi cyfansoddi "Cerddi" a fyddant yn fyw tra bo'r hen Omeraeg. Feallai nad oes un o'n beirdd ieuainc yn Nghymru yn meddu ar gymaint o athrylith gwir awenyddol ag efe. Y mae cyfoethogrwydd ei feddyliaeth farddonol yn dyrchafu ei weithiau bob amser yn mhell uwchlaw cyffredinedd, ac yn creu arnynt nodwedd o uchel ragoriaeth na pherthyn i eiddo eraill. Cynwysa y llyfryn hwn flaenffrwyth ei awen, ac os yw y gwanwyn mor doreithiog, pa beth fydd y cyflawn haf?"

Er pan diriodd yr awdwr yn y wlad hon yn haf 1874, cynwysa y gyfrol bresenol braidd yr oll o'i gyfansoddiadau barddonol. Ysgrifenwyd hwy o bryd i bryd fel yr oedd ei oriau hwyrol yn caniatau a'i ysbryd mydryddol yn ei gynyrfu. Cyfansoddodd "Yr Atlantic" yn niwedd 1874, a'r "Mayflower" yn nechreuad 1875, tra yn ymweled ag eglwysi yn Nhalaeth Pennsylvania. Ysgrifenodd "Trugaredd" yn niwedd 1876 tra yn fyfyriwr yn adran dduwinyddol Prif Ysgol Dinas New York. Cyfansoddodd y gweddill ar ol ei fynediad yn Hydref 1878 i wasanaethu eglwys y T. C. yn Johnstown, Pa. Mydrodd "Anfarwoldeb" yn 1881, "Yr Eglwys" yn 1882, a'r "Awdlau" o'r flwyddyn 1884 hyd 1888.

Yn ngorlifiad galarus Johnstown, Mai 31, 1889, fel cartrefleoedd miloedd eraill, dinystriwyd ei gartrefle ef a'r cwbl oedd ynddo; ond cafodd efe a'i briod a'i bedwar plentyn waredigaeth ryfeddol o'r dinystr. Fel pob peth arall, ysgubwyd ymaith ei ysgrifeniadau, ond yn mhen deufis deuwyd o hyd i'r cyfansoddiadau hyn, oddieithr tri o'r rhai byraf, yn yr adfeilion, a thrwy ofal a thrafferth mawr, y mae yn alluog i'w cyflwyno i'r cyhoedd fel "Gweddillion y Gorlifiad," can belled ag y mae a fyno y gorlifiad a'i ysgrifeniadau ef. Nid gwiw iddo ymofidio am a fu. Yn mhlith ysgrifeniadau eraill, collodd ysgrif-lyfr Saesneg ag y bu ddeng mlynedd yn ei berffeithio a'i ddarparu i'r wasg. Cynwysai ei syniadau ar holl bynciau athrawiaethol crefydd Iesu Grist. Cymdeithas Gweinidogion y dref fu yn symbyliad iddo i'w gyfansoddi. Yn fuan wedi ei fynediad i Johnstown, cafodd yr anrhydedd, mewn cysylltiad a gweinidogion eraill perthynol i'r gwahanol enwadau, o ffurfio Cymdeithas y Gweinidogion, ac ar wahanol adegau yn ngwrs deng mlynedd, darllenodd gynwysiad yr ysgriflyfr i'r aelodau. Mae meddwl yn dylanwadu ar feddwl.

Rhaid dychwelyd at y gyfrol fechan bresenol. Cywirir nifer o wallau argraffyddol ar y tudalenau olaf, a throsglwyddir y cyfansoddiadau hyn yn ostyngedig i'r darllenydd, gan obeithio y byddant yn ffynonell o fudd a mwynhad iddo.

Yr eiddoch yn ddiffuant,

D. C. PHILLIPS (CELYDDON).

SCRANTON, PA., Awst 5, 1891.

# CYNWYSIAD.

## AWDLAU.

TU DAL.

Cerfddelw Bartholdi........................................ 9
Y Diweddar Watcyn B. Joseph (Y Myfyr).................. 31
Y Jeannette................................................ 49
Gwybodaeth ................................................ 60
Brau a Gwir Odidogrwydd.................................. 71
Twr Llundain .............................................. 83

## PRYDDESTAU.

Drylliad yr Atlantic...................................... 106
Trugaredd ................................................. 122
Yr Eglwys ................................................. 139
Anfarwoldeb ............................................... 158
Y Mayflower ............................................... 177

## AMRYWIÓN.

Yr Wythnos Gyntaf......................................... 201
Y Gwaed.................................................... 204
Two Thoughts............................................... 205
Ti. fy Nuw................................................. 206
Y Llywydd a'i Briod....................................... 207

# AWDLAU.

## *"RHYDDID YN GOLEUO Y BYD."*

## CERFDDELW BARTHOLDI,

YR HON A GYSEGRWYD YN MHORTHLADD NEW YORK, HYDREF 26, 1886.

*Awdl Gadeiriol Eisteddfod Genedlaethol Scranton, Tach.* 12, 1885.

Y CYNWYSIAD—Cerfiadaeth—Hoffder y Ffrancod o'r celfau cain—Bartholodi eu prif gerfiedydd—Y Gerfddelw ei brif orchestgamp ac eilun ei wlad—Y cyflwyniad o honi i America—Unbenaeth Ffrainc yn ymgolli mewn Gweriniaeth—Hawddamor America i'r Weriniaeth ieuanc—Cyfeillgarwch agos y ddwy Weriniaeth—Llwyddiant Gwerinlywodraeth Ffrainc—Ei masnach a nodweddion y genedl—Ei dylanwad fel Gweriniaeth ar ryddid y Cyfandir Ewropaidd—Edmygedd a chydymdeimlad Ffrainc at Weriniaeth America—Desgrifiad o America yn anianyddol, yn fasnachol a meddyliol—Ei hymdrech am ryddid—Rhyfel y Chwyldroad a'r cynorthwy a gafodd gan Ffrainc yr adeg hono—Ei ffyniant a'i bri—Y Gerfddelw fel cofarwydd o hen gyfeillgarwch y ddwy Weriniaeth—Desgrifiad o Ynys Bedlow—Careg sylfaen y Gerfddelw—Ei mordaith a'i thiriad yn mhorthladd Efrog Newydd—Y derbyniad croesawgar a gafodd—Desgrifiad o'r Gerfddelw fel y mae ar yr Ynys, ac fei prif Gerfddelw y byd—Ei chenadwri a'i dylanwad ar gelf a gwyddor—Y diweddglo.

2

Y cerfiedydd, cryf ydyw,
Nod ei bin yw enaid byw!
Ei law arddunol rydd ini—feddwl,
Drwy gelfyddyd heini,
Ar fynwes llwydwawr feini;
Ail yw erioed i law Rhi!

Try ef y gareg trwy fyw guriad—byth
Yn bur ymgnawdoliad;
Hawddgar swyn beiddgar syniad—anfarwol,
I'w fawl yn siriol sydd fel yn siarad!

Llen gref o bres * yw'r llen gron
Ddeil yni 'i feddwl union,
O flaen oesau fil enir
I hoffi gwaith seraff gwir.

Caed erioed y Ffrancod draw
Yn hael foddiaw celfyddyd;
Maent yn mawrhau'r celfau cain
I'w da firain hadferyd;
I uchder eu gwychder gynt,
Pan dreiddiai camp wen drwyddynt.

Cerfiedwr Ffrainc! cryf ydoedd—a'i enaid
Yn ei holl weithredoedd;
Eilun gamp gabolai'n g'oedd,
Arosai drwy yr oesoedd.

* Pres gan mwyaf ydyw defnydd y Gerfddelw.

Delw Rhyddid hael a roddodd—i'r byd,
Er mawr bóen y gweithiodd ;
Hon a aeth fel wrth ei fodd,
Oedd lun a'i llwyr foddlonodd.

Ei gerfddelw grefyddolaf—ddygai
Idd ei hagwedd dlysaf ;
Ei waith glân yn gyfan gaf,
A'i ddwylaw braidd addolaf!

Myg o syniad megys anian—ydyw
Ei nodwedd hardd weithian ;
Y mae fel fflam fywiol fflwch
O d'w'llwch yn dod allan !

Rhin cerfiadaeth glaer Ffrainc ar hyf adain,
Drwy hon a dorai draw yn y dwyrain,
Yn ail i'r foreu oleuwawr firain,
Liwia y llwydaidd gymylau llydain,
Enw fydd i'r cerfydd cain—gyfnod hir,
Gwawl hon mwy wylir rhag gelyn milain.

Athrylith a'i rheolau,—ac hirfaith
Dasg y cerfiwr gorau,
Wele Ffrainc yn gainc yn gwau,
Fel mor o wawl o'i muriau !

O ! wladgarol deg wron,—aberthodd
Heb wrthod gysuron,

Pob meddwl *mawr*, pob moddion,
A'i dân hyf er donio hon!

Y ddelw hon a'i ddwylaw enwog—i'w wlad
Lwys rodd o serch gwresog;
Fel duwies Ffrainc flodeuog—ydoedd hi,
Mae ei goleuni fel fflam galonog!

O'i chalon Ffrainc uchelaf—estynai
I'r gu wlad garai ei golud goraf!

Mor lleddf y bu cainc Ffrainc ffraeth,
Dan bwn enbyd Unbenaeth,
I lawr daliodd lu'r deiliaid
Mad yn llwm, hyd yn y llaid,
Dan iau ei barn yn garn gaeth,
Chwyfiai drostynt uwchafiaeth!
Unbenaeth creulawn Bono,
Fel ei epil eiddil o,
Er edrych am wrhydri,
A dynai waed ei hoen hi!
Balch oeddent o blu chwyddawl
Eu sedd hen, ei swydd a'i hawl!

Ond nabu haniad Unbenaeth—yn Ffrainc
Ffrwd ddofn ei farwolaeth;
Ymraiadrai'r ymerodraeth—i'r llawr
Ar ufel oerwawr maes rhyfelwriaeth!

Uwch ei lludw erchyll wed'yn—torodd
Taran Rhyddid claerwyn,

O Paris fel llais purwyn—nef arfaeth
A ddygai alaeth ar lwydd y gelyn.

Ar hyny y Weriniaeth—a gododd
Yn gadarn lywodraeth ;
A baner annibyniaeth,
Wychaf nwyf, ei chwyfio wnaeth.

Pan oedd Ewrop * yn ddiaraeth—ar gil
Rhag eilio'r llywodraeth,
Americ o'i thramoriaeth—rodd hediad
I'w hoff daraniad—" Ffawd i Weriniaeth!"

Dwy wlad mewn cydymdeimlad amlwg,
Er hyn 'ynt, deg helynt digilwg ;
Eu bywyd byth sy'n bod heb wg,—serch llon
Y ddwy enfawr galon ddaw'n fwy i'r golwg.

Dwy Weriniaeth dirionol,—a dwywlad
Ysbrydoliaeth nerthol;
Dwy fanon o dwf unol—ydynt hwy,
Fry yn tramwy rhyddid-fryniau trumol!

O! ddwy genedl ddigynen,—a'u hanian
Dyner o'r un elfen ;
Oes eurog y ddwy seren
Fo oes hir Naf i ser nen!

* America gydnabyddodd Weriniaeth Ffrainc gyntaf.

Ni oera'r Werydd a berw arwrol
Ei fawredd aruthr, a'i ddyfroedd heriol,
Na chethin yriad chwyth annaearol
Anwar fyddin pob drychin herfeiddiol,
Ni oerant eu tynerol—dân gwresog,
Mae'n eu ffyddiog serch fflam anniffoddol!

Ar egwyddorau diddrygedd y werin,
Mewn ffyniant arosant yn oriesin,
Fel ar fryniau y dwyfol wir Frenin,
Heb ofn chwyldroad a'i guriad gerwin,
Na chas bla o achos blin—i luddio
Bywyd i berio y byd a'i wiwrin.

Gweriniaeth Ffrainc arweinia—hyf ryddid
Gwefreiddiol Europa;
Aneirif lwyth flaenora
Ei harwydd dewr—rhyddid da!

Am ryddid bu'n ymroddi,—ei chwa ef
Chwyfiodd ei baneri;
A'i wych urdd dania'i cherddi,
A'i odlau hoff anadla hi!

Gwyneb y wlad gain â blodau—lonir
Dan ysblenydd ddeddfau
Gweriniaeth fyg, a'i rhanau
Oll, yn awr, sy'n llawenhau!

O hudolus wlad helaeth!
Mae'n llawn weithian mewn lluniaeth,

A'i helygol boblogaeth
A ddeallant ddiwylliaeth ;
A thriniant ddofn athroniaeth
Hynodion pob trafnidiaeth ;
I'r Ffrancod daeth pob maeth mad
Ar uniad y Weriniaeth !

Try in' ogoniant eirian ei gynydd,
A'i gwawl goludog wela y gwledydd,
Fel nos-blaned nefolwen ysblenydd,
Liwia'r bryniau â goleu'r wybrenydd ;
Mae'n llanerch brid mewn llawenydd,—a'i fflwch
Ddihafal harddwch sydd fel y wawrddydd !

Hon a saif ar ddigryn sedd,
Heb rwyg i'w bron, heb reg brudd ;
Enw da fel edyn dydd
Ei holl dir a'i fentyll dodd !

Fe drig ei haelaf drigolion—diwyd,
Yn dawel a ffyddlon
I'w baner ; a'u dybenion
Rhywiog yw mawrygu hon.

Adenydd y Duw union—a'i noddo'n
Feunyddiol a rhadlon,
Tra'r aig hen yn tirio'r gwynion
Donau ar ei glanau gleinion,
Tra chwyfia chwa trwy uwchafion
Duoer dyrau'n daear dirion,

Tra hwylia lloer, tra haul llon—boed i'w hynt
Deg helynt o galon!

Gweriniaeth Ffrainc wyreinig—anwyla
Unoliaeth Amerig;
A hyf rodiad brwdfrydig—yr Undeb
I loewaf raddeb cenedl fawreddig.

Americ fel y moroedd—ydyw hyd
A lled ei holl diroedd;
A'i gwylltaf lanaf lynoedd—a'i doldir
A harddaf noddir gan wyrdd fynyddoedd!

Ar fynwes ei chlaer afonydd—moria
Mawrion longau beunydd,
Fel o wlad i wlad, drwy wledydd,—y wlad
Der ei gwead agora'n dragywydd!

Manau swynol mynwes anian—egyr
Yma'u hagwedd purlan;
A'u ter ogoniant eirian,—fel o'i llys,
Eilw'r ewyllys oleuwawr allan!

Hynotaf lyfr yw natur
I ddyn o bwyll sydd yn bur;
Mae natur bur yma'n bod
Dan hud aden y Duwdod!
Dan haul mawr a'i rwysgfawr rod,
A bri iach yr wybr uchod!

Ceir rhanau cu eu rhinwedd
Heb law gwr i bylu 'u gwedd!
I droi celf i dir y cain,
Er curo'r pur i'r cywrain!

Os am hanes ei mwnau—y rhwyfir,
Rhifwn ei mynyddau;
Ac aiff hir gerdd i goffhau
Ág hoff reitheg ei ffrwythau.

A fu gwlad yn fwy goludog—erioed
Is yr haul pelydrog?
Edn a grawn, a'r cnydau'n grog
Ar y llwyni perllanog.

Ei chyfoeth fel fflwch afon
Sy'n chwyddaw a llifaw'n llon,
A'i thonyddiaeth a noddir
Gan fawr faeth odiaeth ei thir.

Hyawdl genedl yw o geinion—dynolryw,
A'i mynwes anwyw'n emynu swynion!
O! nid y lleddf ond y *llon*—yw'r ćywair
Anadla'r ddiwair genedl rydd ëon!
Hi foria mewn difyrion—adlongar
Fel pysg chwareugar yr hygar eigion!
A daw o faes dyfeision—defnyddiol
A'i doniau gwrol o hyd dan goron!

O! deg genedl a anwyd i gynydd,
Hedyn dihafal sy'n adwaen Dofydd!
Hi saif yn glodus fel safon gwledydd,
Is ser breiniol fel rhos yr wybrenydd,
Arwydd da'i baner yw rhyddid beunydd,
Tra gwena'r huan i bob trigianydd,
Einioes hir i hon sydd—mewn arfaethiad,
Mae'i dwyfol urddiad mad fel y wawrddydd!

Canfyddwyd hon a'i bron brid
Yn ymroddi am ryddid!
Yn ymladd mewn gwyn amlwg
A Phrydain gain er ei gwg!
Un frwydr fawr yn awr a wnaeth
A baner Aer* Unbenaeth;
A phan oedd ei lluoedd llon
Ar drothwy y frwydr weithion,
Ar frwydro yn y fro fras
A darn o'r Unol Deyrnas!
Cafodd help, Ffrainc hyf a ddaeth
A'i thadol gymorth odiaeth,
A buan rhyddid bywyd
Noddai fobl y Newydd Fyd!

A bri mawr bro Amerig—yn ebrwydd
Ymlwybrai'n fawreddig,
Ar hyf rawd i ddysglaer frig—gweriniaeth
Bu'n deg odiaeth ei ffawd bendigedig!

* George IV.

Cododd hon er ton, er tid,
I'w theg gyfoeth o'i gofid!
Drwy ei bywyd, er beiau,
Fy Ior hael y mae'n fawrhau!

Y ddelw fawr a ddeil fyth,
Twr yw o gof tragyfyth,
I feddwl hyf y ddwy wlad,
Arch adeilad serch dilyth!

Yn nghulfor y cefnfor cain,
Dor Americ i'r dwyrain,
Mae ynys fach*, fel meinwen—yn estyn
Ei hastud brydferth-ben
Uwch y lli', mewn serch llawen,
Er mor swrth a'i dramawr sen!

O! swynol ynys enwog,
Lan ei grudd, mae fel yn grog
Ar glir fron y llif tonog—dan gwrs mel
Yr awel falm rywiog!

Heibio'r ynys gwibia'r heini—longau,
Heirdd lengoedd y weilgi,
Ei holl anian yw lloni—pob teithydd
O'r eang Werydd cyn ceir angori!
A dymuniad ei mynwes—hefyd sydd
O du'r teithydd groesa'r Werydd eres:

* Ynys Bedlow.

Draw'n y golwg yn dirwyn i'w gilydd,
Hyf eu hunawd, mae dwy o'n hafonydd *
Gan araf chwyddo eigion y Werydd,
A phrydferth ffurfio'r hafan lan, lonydd,
Mad swyn ei threm o hyd sydd—yn llunio
Y gwr fu yno yn gryf awenydd!

Mae awel anian yma i lòni
Y fenyw dyner pan fo'n dihoeni;
Yn haf y ddinas nefoedd yw ini
Rywiog lawenydd pur ei goleuni!
Hyfryd fan ar lan oer li'—lle rhydd haf
Ei gwisg hudolaf ar gysgodlwyni!

O! wele ganoedd o hwyliau gwynion,
A gain reolir gan yr awelon,
Ar y gwgus afrywiog eigion,
Hwnt yn morio y tonau mawrion,
I'r ynys ar eu hunion—daeth adeg
Selio'r gareg sail â rhagorion!

O! bad ar ol bad heb oedi—diriai
Ein dewrion doeth arni;
Fel ffrwd gref o'n prif drefi,
Pigion ein henwogion ni!

Ar drothwy aur y draethell,
A murmur pur y mor pell,
Yn swn y don wen syniawl,
Erioed a fu'n gryd i fawl,

* Yr Hudson a'r East River.

Is nen o lesni hoenwawr,
A llygad mad yr haul mawr,
Areithydd yma draethai—deilyngdod
Y ddelw hynod i'r sail ddylynai!

Ymdreiddiai 'i ymadroddiad—am wiwdaith
Y mudiad o'i darddiad,
I fyny i'w sylfaeniad,
Fel byw wres i'r fynwes fad!

Hynod y man cain dymunol,—enwodd
Y llunwr barddonol,
I ddodi 'i gelfyddydol—gamp gawraidd,
Ar gwr y llunaidd dir Gorllewinol!

O! dor rhyddid hyrwyddol—yw ein byd
I bawb o'r hil ddynol;
Yma rhyddid ymroddol—gyfoda
I'w dir ucha' y gwr fo ymdrechol.

ISERE* fordwya'n siriol—o Ffrainc
Drwy'r ffraeth for ymchwyddol;
Mae ardeb rhyddid undebol—ynddi,
Boed Duw iddi'n rhwyddineb dedwyddol!

Er y don a'r mor mawr dig,
A'i lanw gwyllt mileinig,
Er gwynt c'oedd nefoedd nwyfus,

* Y llong gludodd y ddelw o Ffrainc i America. Cafodd fordaith bur arw.

Wnai yr aig yn llawn o rus;
Y bad hwn i'r byd a wnaeth
Yn swynol ei wasanaeth.

Hawddamor! glaniodd yma—y ddelw,
Rhydd eiliwn Hosana!
Y lan wech lawenycha,—a'r mor ban
Hyd dyrau anian ei chlod darana!

O! clyw'r gynau clir ganoedd,—dyrwygant
O'r eigion i'r nefoedd!
Ar y llongau mae'r llengoedd—fanerau,
A draw ar y bryniau drwy'r wybrenoedd!

Mae'r grasol dramawr groesaw—fel taniad
Byd o fad gariad byth i ymguraw!
O! "ryddid," er arwyddaw—brwd deimlad
Gwlad ar dy diriad, pawb sy'n cyd-daraw!

Wele'r ddelw wyl rydd heuliad
Hudol gariad, diail gwrel;
Hawlia'n sylw'n lan i'w seiliad,
Mae'n ymdrechiad mewn medr uchel!
Mae'n anniflan ddelw eirian,
Acw'n yngan canau angel,
Rhyddid-odlau yw ei hawdlau
Hwnt ar gyrau ter y gorwel.

Pyramid rhyddid gwareiddiol—ydyw
Ger llidiog for chwyddol;

A thry y don a'i thrydanol—gefnlli',
Yn y nos heini'n oleuni swynol!

Trydanol wawl trwy'r "Tair Dinas"*—daena,
Mor dyner ei eirias!
Em o wawr glir uwch mor glas!—a'i thegwch
Yn rhoi i harddwch y nen wir urddas!

O! oleudy goludog—i'r morwr,
Wedi'r mawrhynt hyrddiog,
Is claer wybren serenog—ei wlad ffraw,
Try ef i groesaw ei gartref gwresog!

Ei gwyl drem ar ddigel drumau—y nef,
Lle nofia'r mellt golau,
Sy' debyg mewn tlws dybiau—i angel,
Yn y byd uchel, tanbaid ei achau!

Gwel serch ieuanc angel cu
Yn ei gwyneb yn gwenu!
Rhagorol wên trugaredd,
Craff seraff yw ar ei sedd,
Yn dal hwnt yn ei deheulaw—lusern
Lwysaidd rhyddid effraw,
A roddwyd i arwyddaw—ei wawl pur,
I weision llafur drwy'r byd sy'n llifaw!

O! rymus olygus law,
O! ddihalog ddeheulaw,

* New York, Brooklyn a Jersey City. Goleuir y ddelw a thrydaniaeth yn y nos.

Mae'n ymyl tir engyl Rhi,
A bri glân bro goleuni!

Ac yn ei haswy cynesol—hi ddeil
Llyfr mawr y ddeddf ddwyfol;
Hi gyhoedda'n dragwyddol—iawnderau
Ein Duw i lwythau cyd-genedlaethol.

Mawreddog fel mor addien,—ac uchel
Fel teg wychaf wybren,
Yw'r olwg ar y drylen
Ddelw der, yn uchder nen!

Er nofio heibio'r hynafol—ddelwau,
Mewn meddyliad barddol;
Codi 'u mawredd cydmarol;—plith y ser
Wele ei lleufer yn ddiluw llifol!

O! ARMINIUS *
A CHOLOSSUS, uchel oesawl
BARROMEO,
Enwog hono, mae'n ogonawl;
COLOFN VENDOME,
Ni a wyddom sydd yn haeddawl;
A BAVARIA
Heddyw safa'n dduwies hyfawl;
Ciliodd ceinion

* Y cerfddelwau crybwylledig oeddent y mwyaf nodedig o eiddo y byd nes i Bartholdi adeiladu ei eiddo ef.

Eu hagweddion yn dragwyddol,
Ger mawrhydri
A goleuni "rhyddid" gleiniawl.

Ymagora fel fflam o gariad
Ei holl hagwedd ger bron y llygad!
Rhoi uwch mawredd ar ei chymeriad
Mae holl yni dinam ei lluniad!

Wele'i maintioli! mae'n ataliad
I'r dasg ryfedd o roi desgrifiad
Cywir unol; hon yw coroniad
Hyf, dihalog pob cof-adeilad!

Ni bu delw mewn bodolaeth—o'i maint,
Medd llechres hanesiaeth;
Camp wen yw i'r campau wnaeth
Arfau hudol cerfiadaeth.

Dwl o doriad oedd delw DURA—wrth
Y nerthol wyrth yma;
Wele ddelwedd hylaw ddalia—celf lon,
A'i dwyfol goron ydyw flagura!

Em o gadwyn ymgydiol!—cysyllta
Y rhandir yma a'r wybren drumol!
O fwriad anarferol!—cyfeirio
Y syniad heibio ei llys undebol,
I'r wybrenau claer breiniol,—bro y ser,
I nef o loewder a'i nwyf fawliadol!

Rhin ei meddwl serenog—sydd fel nos
O ser yn aros ar y ne' eurog!

Seren wâr cyfeillgarwch—y ddwywlad
    Arddelwa ei harddwch;
Fwyneiddiaf golofn yw i'w heddwch—llon,
Ac hyfryd goron eu teg frawdgarwch.

Brawdgarwch brwd agored—mewn purdeb
Byw ar ei gwyneb sy'n bur ogoned!
Sylw y dduwies hylaw a ddywed,
Bydd gwên rhyddid fel heulwen i'w weled
Oddiar giliau y ddaear galed,
Arfau rhyfel a'i ddinystr afrifed
Obry deflir i abred,—daearen
Wyl gwyd o'i angen i'w heulog dynged.

Delw rhyddid hael arwydda—hanes
    Ei ogonedd pena',
Er dydd adferiad Adda—waredol,
I arwydd dwyfol ryddid Iehofa!

Nid y brenin ond breiniau—y werin
    Yw ei harwydd-eiriau;
Rhwyfa y werin rhyw forau,—er tid,
I fyd o ryddid a'i fad arweddau.

Acw erys megys cariad—dwyfol
Yn ei hanfarwol fendithlawn fwriad;

Yn gof arwydd o gyfeiriad—meib pur,
Er gwaedd a dolur tragywydd dwywlad !

Hyber adrodd mae'r brwydrau—ymladdodd
Y sawl a daniodd ei sel eu doniau ;
Adwaen gwaed yn gawodau—wnaeth y byd,
Er achub bywyd a threchu beiau !

Americ er ei mawredd,—a welwyd
Yn wylo'n ddiddiwedd !
Caethweision gwirion yn gorwedd—dan lid,
A dirfawr ofid yn dyrfa ryfedd !

Erch gwmwl i'r meddwl mad—oedd beunydd
A boenai y teimlad !
Codi dyn mewn cadwyniad,
Gwael ful oedd *glwyfai ei wlad !*

Trwm alar y tair miliwn—gyhoeddai
Mai tragwyddol erchbwn
Oedd bod byth dan bruddaidd bwn
Carenydd cewri annwn !

A gruddiau llaethog, rhyddid—am amser
Trwm ymson wnai 'i ofid ;
Er marw drwy ymyrid,—rhyddid llon
Ranai i'r dynion yr hyn ordeinid !

Olwynodd ei oleuni,—cerbyd hardd
Cerub dewr tosturi !

Ac o'i anian, er cyni,—i'r caethion
Rhoddodd union froydd ei ddaioni !

Da yw rhyddid ! Duw a'i rhoddodd—i ddyn,
O'i ddoniau ef tarddodd ;
A dawn ydyw a daniodd
Yni meib mad yn mhob modd !

O ! dylynwch ei dylanwad
Teg arwyddiant a gwareiddiad,
Ac uniad gwledydd canaid ;
Mae dadblygiad mad ei blagur,
Ail ymdreigliad fflam der eglur
Diddolur Duw i'w ddeiliaid.

Daw gweriniaeth deg i ranu
Eirf ei nawdd i'r gwr fo'n haeddu,
O ! caiff talent, nid cyff teulu,
Gludo urddas gwlad a'i harddu.

Brodyr union brwd diraniad
Y'm o fwriad a myfyrion,
O dan goron Duw'n ei gariad,
Chwalwyd honiad uchel dynion !

Saif y dduwies faddeuol—i gynal
Gogoniant gwerinol,
Er mawr ffug ac haerllug hawl
Brwyn o haniad breninol !

Breiniau enwog breninoedd—uchelaf,
  Buan chwala'r bobloedd;
Hwy diriant o'r dyfnderoedd—fel duwiau,
Taranu 'u heisiau wnant trwy'r teyrnasoedd!

O! fân dyrau'r cyfandiroedd—chwyfir
    Dyrchafiad y bobloedd;
  Y bobl oll! byw yw eu bloedd
  Ger swyddau y gorseddoedd!

Dylanwadol hudlen ydyw,—a lamp
    Olympaidd ddigyfryw;
  Dena holl heulrod dynolryw
  At bell bwynt ei bwyll—y *byw!*

    At y pell, y pert, y pur,
      Oll hefyd myn ein llafur,
    At y dwfn a phwynt y da,
      Hynota' byncian natur!

  Oes o brid wawl ysbrydoliaeth
  Cywir fwyda mewn cerfiadaeth,
  Croew degwch creadigaeth
  Addien hawliai i'r ddynoliaeth!

Celfyddyd o'i byd tanbeidiol—a gaiff
    Gyffyr adgyfnerthol,
Ac asbri hedog ysbrydol—dafla
Ar wech ddysgwylfa derch addysg gelfol!

O! mi welaf y moliant—yn wastad
Wna estyn i wyddiant;
Ymgynyg am ogoniant
Hon fydd gwyr drwy foddau gant!

Coda y byd cydwybodawl—i hoender
Undeb cenedlaethawl;
Addfwyn fawredd anfarwawl
Dyd i gyd i Dad y gwawl!

Ymnesu y mae ynysoedd,—treiddiant
At ryddid trwy'r niwloedd;
Daw i'r nosawl deyrnasoedd
Ryddhad y cu ryddid c'oedd!

O wlad i wlad ymleda,
Drwy ing y nos dringo wna,
Eofn daith ei golofn dân,
I ogonedd ei Ganaan!

Pob cwmwl, pob meddwl mawr
I'w ddawn hygoedd yn agawr;
Dylanwad ei oleuni
Dry yn nef ein daear ni!

Dwyfol ryddid Iehofa—ydyw
Ei adwaen, drwy wledda
Ar ei gariad rhagora',
Ein bywyd oll yw'r MAB da!

Dyna ryddid! Duw'n rhoddi
Gras y nef trwy'r groes i ni;
Am ryddid Duw ymroddaf,
Ac yn ei nerth canu wnaf!

---

## *Y DIWEDDAR BARCH. WATCYN B. JOSEPH (Y MYFYR).*

*Awdl Gadeiriol Eisteddfod Utica, Ionawr* 1, 1885.

O! am fan i gwynfanu—dilafar,
O dwrw anwar y byd a'i daranu;
Lle mae gwên teg awen gu—fel huan
Eres ar anian yn claer serenu!

O! angeu, mae dy ingoedd—a'th glefyd
Yn bythglwyfo'r miloedd;
Cledd a min yw'r flin floedd—Myfyr doniol,
Awenydd nofiol, fynodd y nefoedd!

Bu farw! mor welw ei wedd—yn ei arch,
Iawn was llawn o rinwedd;
Y ddawn bur sydd yn y bedd
O gyrau twrw'n gorwedd.

Yn y bedd! O na, mae'n bod—ar wawldir
Anfarwoldeb Duwdod;
Trag'wyddawl ei nefawl nod,
Diachwyn ydyw uchod!

Araf ydynt ein cyfarfodydd—oll
Heb ei allu dedwydd;
Gogoniant teg ei gynydd--aeth o'n pau,
A'i salm o fanau ein Salem fynydd!

Yn ngrym ei fywyd i'r gweryd gwyrodd,
Mawr ing yw'n duloes, mor angeu'n daliodd,
Awen rhywioca' Gwalia deg welwodd,
Uchelwen genedl! ei chalon gwynodd,
Gobaith yr eglwys* wiwlwys a wylodd,
Arweinydd ei gallu a'i rhinwedd gollodd,
Ei hanwyl Joseph hunodd—O gyni!
Nos wyl am dani'n isel ymdaenodd!

Mewn athroniaeth, duwinyddiaeth,
Doniau addas;
A chyfrinion anwyw beirddion
Bu ei urddas.
Cael athroniaeth y cu lythyrenau,
Deall cylchoedd bydoedd a bodau,
A nod angen amryfal gangenau,
A'u harferyd yn eurog orforau,
Oedd addysg hardd ei ddyddiau,--gorchfygodd,
Yna y dringodd i'r ne' drwy angau!

Gwelai barn yn eglur arnaw
Bywiol gariad yn blaguraw,
Mor hylaw am yr aelwyd;

* Bethesda, Utica.

Oedd yn esgyn addien ysgol
Diwall deithi deall dethol,
  Ergydiol athraw godwyd!

Dyfal hedyn dwyfol ydoedd,
Elai'n nwyfus i'r lân nefoedd,
  Trwy alluoedd tra llywiol;
Yn y gwanwyn cain eginai,
Ei ddail hoenus ymddolenai,
  A chafai chwaon chwifiol!

Aelwyd siriol rhiaint duwiol,
  Oedd i'w nefol ddoniau hafaidd,
Fel nef loches a phur achles,
  Yn ei eres wanwyn euraidd.

A'r lan wir lwys,
Hyglod eglwys,
Ar ei mynwes gynes gu,
Fyg famaeth, fu'n ei fagu
Yn egwyddor rhagoraf
Bobl y ne' a Beibl ein Naf.

A buan daeth dan bwn dwys,
O'i wir oglud i'r eglwys;
Oedd ddihalog addolydd
Crist, ei groes a'i rhoes yn rhydd.

Dau lyfyr hudol Jehofah—roddent
  Iddo'r addysg deca',

Brieill natur orbura',
A blodau Ion mewn Beibl da.

O! Llyfr gwiw y llyfrau' gyd
A fu fwyaf i'w fywyd;
Aros mwy'n ei wersi mad,
Yn foreu oedd ei fwriad;
Yn unig hwn o'i enwi,
Am fêr nef i'n Myfyr ni.

Bu'r Gair yn bêr agoriad—i'w feddwl,
I foddus ddiwylliad;
Ei ddilynol ddylanwad—oedd gwmwl,
Hudai'i feddwl i dwf o awyddiad!

Ei sylw ddenwyd gan sylwedd anian,
A mynai syllu ei monwes allan,
Chwiliai ei thyrau a chlywai 'i tharan,
A theimlai nefol chwa'i themlau'n hofian,
Ei ther athrylith eirian—a'i swynodd,
A'i awen ledodd ei haden lydan!

Ei firain ymddifyru—oedd weithian
Ei ddethol brydyddu,
Ac angel enwog englynu—beunydd,
A fu'n bur noddydd i'w fwynber nyddu!

Fel hyn yn y gwanwyn gwyrdd,
Heb ha' ffawd y bu ei ffordd;

Ai yn ddilen yn ben bardd,
Awen gain oedd yn ei gerdd.

Darfu mebyd, diwyd dw',
Eden hoen dyn yw hwnw,
Moriai ef yn moreu'i oes
Ar li' einioes—mawr lanw!

Ei galon donog olau
A ledodd ei theimladau,
At ddyn a Duw y duwiau!
Dyn a'i eirwon donau,
A'i fydoedd o ofidiau,
Feddalodd ei feddyliau;
Gwnai ei ran i'r gwan drwy ged
I'w wared ef o'i beiriau!

Ei doriad claer ar dyrau—yr eglwys
Mor hyglod a golau;
A'i angen i'w rhengau—oedd sail ei ffydd
I'w alw i fynydd ei huchelfanau!

O wys nefol Duw Seion ufydd
Y bu ei enaid yn wyl dderbynydd,
Hoff was gwyn! fel seraff esgynodd
Y daeth i "Bethel"—dawel dywydd!
Amcanai am y cynydd—hardda'n fad
Gywiraf rodiad y gwir efrydydd.

Nod bwyllog ei enaid bellach—oedd hwylio
Llong addoliad holliach,
A dir egni dirwgnach,
O fro hael Calfaria iach.

Ucheled i'w farn oedd goruchwylydd
Ar reidiau eglwys y pur Waredydd,
Mirain weled o'r muriau'n wyliedydd,
Bugeilio pob oen yn ddi-boen beunydd,
Dyfod ganwaith â'r defaid i gynydd,
Eu troi â'i dalent i'w tir a'u dolydd,
Ar finion ffrydiau y llanau llonydd,
A bod i'w rhiniau fel bywyd-arweinydd,
A nabod dichell y gwrthwynebydd,
A thrin diafol a tharan Dofydd;
I'r drych hwn bu'n edrychydd—brwdfrydig,
Oedd i'w garedig santaidd Greawdydd!

A boddus bu'r gwybyddiad—o angen
Efengyl y cariad,
Heb alaeth yn symbyliad—rhagorwych
I lwyr gyflawnwych dalu'r gofyniad.

O werddonau irdwf barddoniaeth,
Mel a diliau pêr aml y dalaeth
A'i hawelon ehelaeth—neillduodd,
Ei Dduw Ion noddodd ei dduwinyddiaeth.

Duwinyddiaeth—Duw'n noddi—pechadur,
A'i wared o ddolur diriaid ddyli';

Ar for yr Iawn angori—wnaeth y blydd,
Anwyl awenydd dan wynion leni.

Am wir addysg ymroddai,—i'w alwad
    Eilwaith ymgysegrai;
Yn ei wers dlos arosai—yn gyndyn,
A'i theg wreiddyn byth a gyrhaeddai.

  Tynu'n wir i'w rhandir rhad,
  Wnai drwy fwyn benderfyniad;
  Penderfyniad cariad cu—pan y del
  I'w dir uchel, cawr ydyw i drechu.

Darbod yn barod y bu—ei enaid
    I hoenus bregethu;
  Mawr ymdrechodd, canodd cu
  Wisg ei urdd, yn oriau cysgu.

Eithr hufen yr athrofa—oedd ei nod,
    Trodd yn awr i Drefecca; *
  Oedd awchus i'r budd ucha'
  O fri dewr Y Myfyr da.

Da wiwdrin a diwydrwydd—a'i cododd
    Fel cadarn mor hylwydd;
  Ei ddull ef oedd allwedd llwydd
  I wybren dysg yn ebrwydd.

* Yr athrofa y bu Y Myfyr ynddi.

Er huno haul mawr anian,
Curai'r gwyll a'i ganwyll gan.

Y nef wawr forau
Welodd ei golau
Wedi ei gyneu'n hynod geinwar;
Iach seren uchel,
Seirian nos-oriel,
Wylia ei ddigel liwiad hygar.

Dadblygu, cwnu byth megys cawr—ef oedd,
Drwy feddwl grymusfawr;
Ei wynfyd oedd yn enfawr,
Ar y maes fel myfyr mawr.

Ei dywyniad fel duwinydd—clir oedd,
Fel claer wawr boreuddydd;
A thriniai fel athronydd
Natur ddofn a phur y ffydd.

A thrafod dysg athrofa
I'w daith ddel fu'n fendith dda.

O! agor dorau dengar dwyrain—dysg
A wnaeth i'r dydd mirain;
Rhad lwysgu loyw-wawr dlosgain
Oedd cwrs teg y coleg cain!

Ni ellid llenwi'i allu
Yn mro gain ein Cymru gu;

Ei ddeall diddiwallu
Oedd fel gwagder dyfnder du!

Ein Myfyr fu'n ymofyn
Am uwch ffordd i drymach ffyn;
Yn Alban,* iach fan, yn wych fu,
Ei dasgu yno oedd dysgu
Hanesiaeth y cynoesau,
Chwilio'r gwir a chwalu'r gau,
A gafael yn mawr gyfoeth
Rhinwedd cain athronydd coeth,
Er seilio'i hun ar sylwedd
Hynod wych fel cenad hedd;
A di-syfl loewbrid safle
I'w fwyn ddydd a fynodd e.

O bell daethai'n ddiballu,
Heb wg i Forganwg gu,
I bur goethwych bregethu—yn swynol
Oesol ras Iesu.

Magu nerth mewn prydferthwch
Wnelai fflam ei feddwl fflwch;
Cronai, ymdonai'n bur dân,
A lledai fel mor llydan!
Ffynai'n gryf drwy ffynon gras,
A'i wyrddion ddail dan urddas;

*Cymerodd Y Myfyr gwrs arbenig mewn athroniaeth ac hanesiaeth yn un o golegau Scotland.

A nef dderch oedd nwyf ei ddawn,
A'i irddwys lednais wirddawn;
I deulu Crist daliai'i cred,
Yn haeddfwyn Gristion addfed;
Ewyllysiol arllwysai—ei fywyd
I'w der anwylyd, a'i rin a heuliai!

O! Colwyn Bay, maes calon bur—y bardd
Bu a'i farddol antur;
A nabu yma'n hoewbur
Odlau da ei awdlau dur!

Ar lan y mor a'i lanw mwys,
Swn y dwr a swyn y don,
Mynai'r awen lawen lwys,
Ef i'w bri dysgleiriaf bron!

Ar for "Y Meddwl"*—gwir fawredd,
A'i bur wyrdd ddawnus ber urddunedd,
A'i wych heulawg arucheledd,
Weithian rhodiai i goeth anrhydedd!

Ar wib cawr fry heibio y cewri—aeth
A'i orchestgamp wisgi;
Cadarn eryr yn codi
Oedd i fryn claer beirdd o fri.

Cadair uchel ddel a ddaeth—yn eiddo
"Y Meddwl" cryf odiaeth;

* Testyn Awdl Gadeiriol Y Myfyr.

Iach hofian i uwchafiaeth
Awen gref o'r nef a wnaeth.

Ac eilchwyl awen ei haden ledodd,
Ei dwys ogoniant arno disgynodd,
Asbri ei dalent a'i hysbrydolodd,
Ei fyw wyrdd enaid yn hyf farddonodd,
Ei gref fwyn "Athrylith" * ysgrifenodd,
A thalaith prif-fardd eilwaith a hawliodd;
Fel cadarn dwyfol cododd,—mewn mawri fri,
Urdd a goleuni cerubfardd glaniodd!

Y gem aur diwyd, O! Gymru dawel,
Ei bryniau iachus a'i hwybren uchel,
Ei thonau rhywiog a'i thyner awel,
Ei huan hoew a'i hawen hywel,
O fudd mwy ei chrefydd mêl,—cyduno
Wnelent i'w urddo—hwylient i'w arddel!

Awen lon y don faws der,—pura' swn
Perseiniol y dyfnder,
A gwawl hwyrol swynol ser,—mewn nwyfiant,
Yn ei awdl llifant fel anadl lleufer!

Yn y dwthwn hwn y daethai
I'w fywiol dwf nefol difai;
Alaw y moelydd,
Ar don aur y dydd,
Ei glodydd a gludai!

* Testyn ei ail Awdl Gadeiriol.

O ganol ei ogoniant,
A'i gysuron gwynion gant,
Ei hiraeth oedd yn araul
Am wech wlad iach machlud haul.
Er dolur o'i bur dalaeth,
O fro der ei dir y daeth,
Hyd ael dwr a'i deulu da,
I nodawl dref* Oneida;
Ond buan d'wrnod bywyd—aeth heibio,
A'i deulu yno a gofid lanwyd!

O! y mae wylo am y famwlad,
Hyd amledd dagrau'n iawn i deimlad;
Ond Och! wylo'u dychweliad—i'w brodir,
O'r ban haeldir, *heb eu hanwyldad!*

Bethesda† lawn i'w nawn fu'n nyth,—cyfiawn
Cofia'i rin tragyfyth;
Dylif ei ddoniau dilyth
Ynddi'n gry' bery am byth!

Ni syflodd o fryn ei safle—uchel
Yn y wychaf nwyfre,
Aeth o'i drum ban i'w wiw dre
Ar wanwyn drumau'r wiwne!

Fel eigion yn chwyddo'n chwai,
Llawn fyddai llanw'i feddwl;

* Utica. † Eglwys Annibynol Utica.

O hyd yn trin heb adwaen trai,
Byw nofiai drwy bob nifwl!

Mal seren am olau siriawl—y bu
Yn y byd barddonawl,
Seren wen! seirianai wawl,—edrych oedd
Ar ael y nefoedd, fel claer haul nofiawl!

Canai uniawn acen hoenaidd,
Ddenai euraidd ddoniau eirian;
Emyn gwiwlan namyn gwylaidd,
Oedd yn hafaidd addwyn hofian!
Teimlad nwyfus, purdeb serchus,
A dyddanus doddai 'i anian;
Bardd chwareus a mawreddus,
Yn ei ddawnus ffordd ei hunan!

Llais ei Dduw arllwysai ddydd
I'w anian fel awenydd!

Elai 'i deg weledigaeth—i feusydd
Difesur meddyliaeth,
Byw urdd yni barddoniaeth,
A'i hanfod, ei nabod wnaeth.

Dawn eurog ei dynerwch—a egyr
Eigion o brydferthwch,
Yn dyferu difyrwch—cerubiaid,
O naws fendigaid nos fwyn o degwch.

A swyn eto! Pwy syn'n ateb—hanfod
    Rhinfawr ei newydd-deb,
  Yn fwy iawn nag efe, heb
  Orlunio'i araul wyneb?

Gwaelod y galon a'i galar—wyddai,
    A'i dwyseiddiaf drydar;
  A llifa ffrwd ei llafar—yn ei gân,
  Tynai o'i hanian y tonau anwar!

Oedd ef mor bêr ag aderyn—o'r nef
    I'r nos ddu yn disgyn;
Hiroedai ar ei edyn—angylaidd,
Y nos drymaidd ddinystriai a'i emyn!

Bardd o archwaeth byw ardderchog—y bu,
    Bardd y deall bywiog;
Bardd grasawl i'r beirdd gwresog,—bardd Iesu
A'i buraidd deulu fu'n bardd dihalog!

Urddunedd y barddoni—goronodd
    A gwyreinig dlysni;
Oedd oleulawn hardd lili—i'w swynion,
A'i *hael* galon anwylaf ei Geli.
O blethu "Y Llong" * i blith llu—*beirdd y dydd*,
Ef i lawenydd aeth i folianu!

* Yr oedd Y Myfyr ar haner cyfansoddi awdl ar "Y Llong" pan fu farw.

I'w genedl bu'n fyw ganwyll,
O'i ẇyl ben cadd *farnol* bwyll,
I fudo'i heisteddfodydd—godidog,
A'i hwylio'n chwanog i lanw a chynydd.

Hyd amwisg bu ei dymor,
O fêl mwyn, fal y mor.

Ei feddwl cryfaf addien,—a'i yni
Oeddent ffynon drylen,
Neu gorff o ddysg anorphen,—llifai'n faws
I fyd y lluaws drwy 'i fywyd llawen.

Llawn oedd ef mewn llenyddiaeth—amrywiol,
Em yr awen odiaeth ;
Ei dalent frwd ehelaeth—ni flinai,
Efe a rodiai byth mewn efrydiaeth.
Efrydiaeth gref a rhedol--ei reswm
A drosai'r naturiol,
Tiriai drwy y materol—yn iechyd,
A Duw-gain fywyd y byd gwynfaol !

O ! y cu Iesu oesawl,
Y Duwddyn, gwreiddyn pob gawl,
Ei wych der iachawdwriaeth
I dylodion ddynion ddaeth !

A gwiw nawdd gweinyddiad—ein prif fardd cain,
Oedd Iesu mirain a'i wir ddwys ymyriad !
Ddwfn bwnc ! ei oes bwnc y bu—nefolaidd
I'w des arianaidd i'w adserenu !

Pregethai'n bur cur cariad—yr Iesu
Yn rasol mewn teimlad;
A brafaf iaith ei brofiad—oedd ddyddan
Fawl i'n hanian, dan ddwyfol eneiniad!

Y Gair Dwyfol o gariad ufydd—agorai,
Flagurol ddeonglydd;
Cliriai ffurf pinaclau'r ffydd,—addysgai,
A'i wers blanai ar y Gair ysblenydd!

Agweddau pob egwyddor—a wyddai,
A'i moddion dieisior;
O eithafedd mawredd mor—Duw dibrin,
A'i dir iesin y casglai ei drysor!

Gwyddai eurog deithi gwyddorawl,
A thriniaeth eang y byd athronawl,
A phell gylchoedd moroedd ymwriawl,
A rhedai gwrsi'r heuliau rhodawl,
Yn meusydd byw amrywiawl—gwybodau
Ei oes, heb eisieu, oedd yn hysbysawl!
Heb wrthod gwnai aberthu—yn fywiol
Yr oll ar rasol wir allor Iesu!

Ei ddoeth bregeth oedd goethus—adeilad
Ei dalent fawreddus;
A mael o wenith melus
Oedd ei maeth hi, heb ddim us.

Delw o swyn a phur dlysineb—ydoedd,
Wridai gan newydd-deb;

Ni cha'em syniad o'i had heb
Ryw wanwyn ar ei wyneb.

Crefyddolaf croewaf feddyliau—oeddent
Addurn ei bregethau;
Pob meddwl heb gwl yn gwau—yn gyson,
Gras ei *wir* galon a'i gwres i'r golau!

Ei wir ddedwydd draddodiad—byw oedd,
Boddus ei gynyrfiad,
A'i dyner ber ymdoniad
Oedd fel swyn y fwyn don fad!

Hyfion ddoniau afonydd anian—oeddent
Eiddo'i feddwl llydan—
Tlysni ir ei thir a'i thân,
A thwrw pur ei tharan!

Ar binacl llachar bonedd—hynodawl
Gweinidog tangnefedd,
Y rhifid ef yn rhyfedd
O wir fawr i dir ei fedd.

Fel i for dwyfol fyd,
I gainfor didranc Gwynfyd,
Yn awel Ion hwyliaw oedd
I fywyd a'r tyrfaoedd!

Megys awel nefol dawel
Wybren uchel lwybrai'n iachus,
Ar hyd ceinder blodau mwynber,
Ar ei dyner oriau dawnus.

Ymgodai'n emog wed'yn—ar freiniol
Awr fryniog hwyl ddigryn,
Ar fywdeg buraf edyn,
I fawr fri Calfaria fryn!

Ei eiriau fel pelau poeth,
Arweinient rhwng rhai annoeth
A'u buchedd llawn o bechod—
Clywch eu llef! y nef yw nod
Hyfrydlwys rhai afradlon,
A moli wnaent yn nheml ein Hion.

I'w gol mwyn fel bugail mad,—y delai
Wyn mewn dolur difrad;
Byddai mwynder tyner tad,
Drwy ei anwyl ymdriniad!

Agorodd haf ei gariad—eangaf,
I ingoedd pob dafad,
A dethol ei bendithiad—didwrw
Wnai o deml loew ei gydymdeimlad!

Ei gymeriad digamwri—gwyn oedd
Gan addien ddaioni;
Bu'n ffyddlawn was i ras Rhi—heb wyriad,
Hyd ei laniad i fyd o oleuni!

Awen gu! ei haden gan—a daena
Dros ei dyner feddfan;
Hyd enyd ail wneyd anian
Fel a fu, yn nefol fan!

# *Y JEANNETTE.*

*Buddugol ar destyn y Gadair yn Eisteddfod Plymouth, Pa., Rhagfyr* 25, 1884.

Anturia ar hynt erwin—nef-awen,
Nwyf eang cerdd ddibrin;
A ffrydied anghyffredin—farddol wawl,
Hyd arw oesawlfyd y rhew iesin!

Y meddwl ymawyddus—archwilia'r
Uchelion clodforus;
Bro y daran a'i bri dyrus,—a ch'oedd
Aruthr gylchoedd y moroedd ymwrus.

Ond aig hyglod enaid y Gogledd—oer,
Heria ei chwilfrydedd;
Er ei firain orfawredd—gwycha',
Ni rwyfa heibio y Pegwn rhyfedd!

O! y man annymunol—man angeu
Mewn ingoedd dirdynol!
Man rhysedd mewn rhew oesol—yw'r pell bau,
A'i fyd o donau i fodau dynol!

Bu dewrder heb awdurdod—yn y fan,
Dan faich trwm mewn malldod;
Ni fu nawdd o'i fewn i fod,
Ond aden wen y Duwdod!

Er pob pwn y Pegwn pell
Byth a saif yn beth o swyn,
Megys rhyw ddigyfryw gell
Ar dwr y mor i'r dewr mwyn.

Y llongau a ollyngwyd—i'w geisio'n
Grwn a'i chwilio'n ysgyrion chwalwyd!
Ac allan, er a gollwyd—Jeannette aeth,
Hon, er mawr alaeth, i'r mor a hwyliwyd!

Ond cyn mudo cawn am adeg
Wylo'n unol ar lanw y waneg!
Pob calon dirion deg—brudd ymoedai,
Mwyn achwynai am drem yn 'chwaneg!

Cul enyd i'w calonau—yn awr fu,
Ar fin ein gororau;
Bu'r gwron pybyr gorau—mewn pryder,
A'i fêl don dyner oedd fal dan donau!

Priod wen y cadben call,
Em dduwies, Emma ddiwall,
Ar y bwrdd yn awr y bu,
Ar y dwr yn pryderu!

Pwyl ei thro, gwelw ei threm,
Oedd y fwyn annedwydd fam;
Pell ferw y llanw llwm
Chwalai'n drist ei chalon drom!

Ei phlant bychain, mirain, mad,
Yn siriol fynent siarad,
Fr fod y cwmwl dwl, du,
Yn cwnu mewn amcaniad
Anfoddus, i'r fun feddai
Ar bur fron yn chwyddo'n chwai!
O'i mynwes y dymunai—lwyddiant llon
Y gwron a garai!

Mor unol yr ymranodd—a Delong,
Mewn dolur dychwelodd;
Hyf arwr yntau foriodd
I oer fyd yn ddewr o'i fodd.

O San Francisco mwyn hwylio wnelynt,
Berw'r eigion yn bur hoew rwygynt,
Yn chwai rywiog cerddorion chwareuynt,
O dyrau anian megnyl darenynt,
I'w hwylio ar eu helynt—ceisient wên
Y mor addien, a llwyddiant mawr iddynt!

O gyffiniau pell ororau
Y Talaethau heirdd, tylwythog,
Morio'n ddiau wnaent y tonau,
Heibio'r glanau'n bur galonog.

Mis Mehefin a'i hoen iesin
A'u cynesai;
Jeannette weithion ar wiw eigion
Ymfawrygai.

Castell cystal
Ar ddwr i ddal
Oedd a nofiai chwydd neifion,—a'i dwylaw
Oeddent deilwng ddewrion;
Fel o ganol hafol geinion
Eu gwlad rydd a'i gelltydd gwylltion,
A chylch boddus, dawnus dynion,
A'u hoffeiddlwys geraint ffyddlon;
Cyrchu wnai y llu llon—i'r wlad oerddu,
Er gwgu'r drwg eigion.

Heb lesgedd heibio Alaska—ai'n buraidd
Yn barod i'w gyrfa;
Mawr lwyth hon a'i dynion da—o'ent addas
I oror oerias y rhew a'r eira!

Wrth gychwyn, y deg waneg wenai,
Ei gwir ryddid i'r llong fyg roddai;
Ond mor fyr y difyr hynt dyfai,
Gwên dda'r eigion ymgynddeiriogai!
Ei fydoedd ymofidiai—gwynt uchelfloedd
Dros y moroedd dyrus ymyrai!

O don i don ymdynai,
Byw iawn drwy Lawrence Bay äi;
Ac anian oedd yn gwenu
Ar y cain ymchwilwyr cu!
Goleuni teg y glenydd
Lonai rawd pob calon rydd;

A'r mawr for yn gefnfor gwyn
Yn wastad hwnt wnai estyn;
A'i donau blwng o dan bla,
A'i yrfa yn ddiderfyn!

I'r lan oer lwys,
O dan od dwys,
O'u man anmwys mewn hoen mad;
Elai'n llon y doethion dethawl
Ar wych hylaw ymgyrch chwiliawl:
Anfonid yn fynych,
Ar swydd i'r tir sych,
Rai dinych wyr doniawl.

Ar aig hyglir oer y Gogledd,
Nofio bellach wnai'n hyf bwyllwedd;
Tri deg tri mewn dig unigedd
Ar y myr gorchwerw'u mawredd.

Dyrus tynent dros y tonau
Hwnt o lanau'u hynt olwynog;
'Nawr ni welent eirian hwyliau
Ar y tonau hurta', enwog.

Archwilient arucheledd—yr eigion
Rhwygawl mewn chwilfrydedd,
Am hollol dreiddlym allwedd,—er pob cur,
Ar hyd aig eglur oerfryd y Gogledd.

Am ryw ysbaid y mor mawr agorai,
A digon nwyfus y llong deg nofiai;

Ond O! mor ddiwyd y mor a ddeuai,
A'r iâ her-glodus ar ei war gludai!
Cywir iawn y canai—y llong nerthawl
Yn ei rew unawl, ac ymdaranai!

Er gwasgiad y mor gwisgi,—er cadw
Rhew cydiol am dani,
Daliai y llong hudol y lli',—er bod
Diail ddyrnod dialedd arni!

O! y llong ni ollyngir—o afael
Nwyfus rhew nertholglir;
Mynyddau'n olau welir,—terfysglyd,
Am ryw enyd ar wyneb mor unir!

Unigrwydd creulawn hagra'—y moroedd
Mawrion deimlent yma;
Tywydd a'i todd a'i bla
Ar oror y rhew oera'!

Fel palas addas iddynt—oedd y llong,
Nawdd llwyr rhag y rhew-wynt;
Er curo llawer corwynt—ystormus,
Hi ddaliai'n hwylus hir ddalen o'u helynt!

Archwylwyr aruchelaf—oeddent,
Er trag'wyddol auaf,
Heb lesghau yn neddfau Naf,
Ar wych for y Goruchaf!

Er cael haf, gauaf oer gwyw—ydoedd hwn,
Nid oes haul uchelryw
Dodda'n fwyn eu dydd heddyw,
Yn addwyn fan i ddyn fyw !

Os gwelent ynys gulwedd—drwy y niwl,
Draw yn y ne'n gorwedd,
Er dyrus for, eu dewredd
Gariai'r llu i sangu'i sedd.

A cheisient gael achosion—newidiad
Annedwydd yr eigion ;
Cadwent daith diffaith y don
A'i nwydau mewn cofnodion.

Bu'r morwyr hoewbur am hirion—fisoedd
Ar y moroedd, mor rhwym braidd a'r meirwon !
Rhewog gyfandir ar frig hyf y wendon,
Neu gronfa digariad o Alpau geirwon,
Symudai, gwgai ar y dig eigion,
Yna ysgarai 'i hun yn ysgyrion !
Gwawr aur rhyddid a gwell gwir arwyddion
Ar y mor dorent mewn grym i'r dewrion !
O oer giliau'i arw galon—y llong chwai
I ryddid ddaethai mor ddedwydd weithion !

Mwy oeddent ymawyddus—archwilwyr,
Uchelaf for clodus ;
Er trachwant y rhew trwchus—byth greulon,
Mwy hyf i'r eigion ai'r llong ymfawrygus.

Mor llon pob calon, pob cawr—a godai
I'r gad erch ddirfawr;
Rhyddid nef welid yn awr,
Ar wyneb mor eirianwawr!

Ond wele'i uniad ar frad-olwynion
Eto'n ymrwygo tan y mawr eigion;
Ac am y morwyr camai y mawrion
Fryniau o rew, dan drumau gordrymion,
A'u noddfa elai'n hawdd i'w afaelion;
Mor gadarn oeddent ei drwm ergydion!
Clywch eu hochenaid—cloch eu hachwynion!
Tra'r tonau'n croni am dani'n dynion!
Gerwinawg wthiwyd y gwyr yn gaethion
Ar y dir oror a'i dyrau oerion;
Ac heibio aethai eu teg obeithion,
Fel niwl y boreu o flaen ei awelon;
Ac hawlid dewredd calon—dwyfol bur,
I ddal antur mor brudd ei helyntion!

Wele y llong ar ael y lli'—yn awr,
Un wedd a thlws lili,
Ar fron oer mawr rew o fri,
A'i dewr galon ar dori!

Buan gwelodd y cadben golau
Du ing ola'i long fad a'i hangau!
Tra arni'r mor yn cau ei ddorau,
Ein dewrgu arwr brydai'r geiriau:

"O! Jened, laned oedd ar li',—urddas
Ac harddwch y weilgi;
Rhag dyrnod drwg du oerni,
Nawdd a nyth oedd hon i ni.

Brenines, duwies y don,—arglwyddes
Bâr ogleddawl eigion,
Lwyr giliodd lawr i galon
Y dig aig yr adeg hon!

Ow! golled, nid oes gallu—ar y mor
Ymwriawl i'w leddfu;
Neshaodd awr y nos ddu,—a'm dewrion
A wel yr eigion yn trylwyr wgu!

Er gweled dyfnder gwaeledd,—ac angen
Drwg ingoedd mor rhyfedd;
Ni bu ail i roi mewn bedd—cynddeiriog,
Ein gwych eurog agergwch i orwedd!

O bu ini bob enyd—o'n haerfa
Fel arfog dy'n bywyd;
Gwnai'm glewion hyfion hefyd,
Y gain fun megys gwyn fyd.

Ond er hyn o daranu,—uwch yr aig
Chwery haul goleugu;
Mae gobaith myg ohebu—er pob aeth,
A'm hunol dalaeth a'm hanwyl deulu!

4

Mawl i Dduw am ei hael ddawn!—y morwyr,
Y dinad arwyr, achubwyd yn diriawn;
Os yw'r llong a'i thrysor llawn—mewn dwfr-bant,
Ein badau rwygant wyneb du'r eigiawn!

Dirion Naf! O dyro nerth—i gyraedd
Goror Rwssia anferth!
Dyro, Ior, o'r cefnfor certh,
Bur redfa i'm gwlad brydferth!"

Yna'r cadben trylen trodd,
A'i forwyr a fyfyriodd;
Y cawr brwd, er cur bron,
Rodd araeth wir i'w ddewrion:

"Ymwrolwch, er mor o alar,
Ar ol lluched y tyr haul llachar;
Er mawr boen, o'r mor bâr—awn i gyd,
A'i dyrau diwyd i dir daear!

O! cyd-unwn er gwanc ei donau,
Ac helpwn ein gilydd dros grog Alpau,
Yn bur o gariad—pawb ar eu gorau,
A'n Hior uniawn a'n harwain a'i riniau,
I lunio'n ffordd i lanau—gwareiddiad,
A hyny heb oediad, gyda'n badau!"

Ar ol cychwyn arlwy cuchiog
Y mor enwog, marw, anwar,
Wele wed'yn eu hwyl oediog

Dan ei finiog don a'i faniar ;
Creigiau mawrion rhew anffyddlon,
Erwin eigion bâr, anhygar ;
Breuol dorai, chwim-symudai,
A didolai'i faes didalar !

O ! mor araf am hir oriau,
Eu dihedog symudiadau,
Ar wanegau crwn eigion !
Hwy a lusgent yn wir lesgawl
Eu holl nwyddau'n llon a haeddawl,
Ar ymwriawl fyr mawrion !

Anwylo wnelynt
Hwyliad eu helynt,
Er y mawrwynt, yrai o'r moroedd ;
Eu gobaith gwibiawl,
Ni allai'n hollawl
Heulio'n nofiawl ar ael y nefoedd.

Er gwaned, eurog wenu—wnai o'r gwyll,
A'r gwyr wrtho'n glynu,
Er bod dan y dyrnod du
A pharod oll i fferu !
Mwyn obaith ! myn ohebu
O'r bedd, bron, â'r galon gu !

I gyrau mor agored—hwy ddaethant,
Oedd eithaf eu lludded ;
Ond cryf ydoedd nod eu cred
Am eirian fro ymwared !

Bu hudol roi y badau—ar y mor,
    Er eu marwol ofnau;
Ond rhanodd hynt y gwynt gau—y tri bad,
Ar ei yriad yn y pell ororau!

O! un o honynt sy'n huno—a'i lwyth hoff,
    Yn y glwth aig heno;
Daeth dau'n glir i dir, do,—*rhy ddu* eu hynt,
O wydd eu helynt af i brudd wylo!

---

## *GWYBODAETH.*

O! diffinedd yw ei dwy ffynon,—dyn
    A Duw, dyna ddigon;
  Gwybodaeth deg abwydion,
  A geiriau heirdd y gwir Ion.

Blodeuad bywiol y deall—ydyw
    Ei symudiad diball;
  Gwneyd engyl o gnwd anghall
  Yw d' waith gwych, Wybodaeth gall.

    Ddyled yw y meddwl dall,
    Dos, ein duwies, i'n deall;
    Druaned yw yr einioes
    Os nad yw yn syniad oes.

    Wybodaeth! iawndyb ydyw,
    Addurn hardd i riniau yw;

Camwri a'r cymeriad
Byw mewn hedd heb ei mwynhad.

Ar aden mae'n claer hedeg,
Trin dewr daith trwy'n daear deg!

Trinia yni, try'n hanes,—athroniaeth
Rhanau anian eres ;
Ac enwa'i seiliau cynes
Yn ol gradd y niwlog res.

Er hened yw yr haenau,—hi rifa
Eu rhyfedd gyfnodau ;
Mae'n glir wych mewn eglurhau
Gwir burwedd gwawr eu borau.

Trinia wyneb tirion anian,—hael yd
A'r blodau serchoglan ;
Try hwy i lwydd natur lân
Plwy' siriol palas arian.

Acw cwyd geinciau coedydd,—a'u himpio
Mor gampus i'w gilydd ;
Puro llwyni'r perllanydd,
A gwellha pri'u gallu prydd.

Dros fanau dyrus afonydd—pwyntiol
Y pontia mor gelfydd ;
Nid ymuniad y mynydd
Eill dori ffawd ei dewr ffydd.

Trwy y mynydd, trwm enyd,—y gyra
Agoriad i'w bywyd;
Ar gledrau gwâr barthau'r byd
Ocha hirben ei cherbyd.

Mae'n herio mewn awyren—wisg-hoenus,
Esgyneb daearen;
Tro hir wneir fry trwy'r nen,
Lle uwch adwyth llucheden.

Marchoga drum erch eigion,
Ffrwynog deil y ffyrnig don;
Gyr ei llais trwy gwr y lli'
Ein holl linell i'n lloni.

Gwylia fuddiol gelfyddyd,—mae'n curo
Mewn cywrain waith beunydd;
A golud hon yw gwawl dydd
Didlodi adeiladydd.

Nadda'r gareg, hen wyddor gywrain,
Ei mynoreiddio mae'n wir addain;
Dan driniad y curiad cain—byw ddelwedd
O lân fawredd anadla'n firain.

Hynod irlwys mae'n tynu darlun,
A'i araul urddo trwy wawl arddun;
Da iawn yw—y dyn ei hun—yw'n hollol,
Y mae'n nerthol heb ddim yn wrthun.

Ei hygar offer sy'n agraffu,
Llaw ei thriniaeth yw'n llythyrenu;
Wele cawn feddwl cu—ar len lanwedd,
Hanes rhinwedd hon sy'n serenu.

Egyr dwr geiriaduron,
Nithia'i braich bob heniaith bron;
Anwar iaith dyd dan raith deg
A grym odiaeth gramadeg.

Rhwyg hyf wyrni rhagfarnol,
Ei drin ef mae a'i droi'n ol;
Bywyd hon wybu dyned
Dori cri paderau cred!
Fel nos wyll o flaen ei sedd
Yw dygiliad hygoeledd!

Oes o blanu ysblenydd
Yw'r oes roi'r i'th wers rydd;
Yn myd pwyll mae'n medi pur
Yn dy feusydd difesur.
Pwy hedodd uwch tymp dy ddydd
Ar foliant ei ddarfelydd?
Mae f' enaid ymofynol,
Er nwyd 'n awr, yn neidio'n ol!
Ffiniau cur, hoff yni cain,
Ein haniad, ni ein hunain,
Ein cryd, ein cread hynod,
Eangder Ner yw dy nod!

Didor awdurdod ydyw,—ac afiaeth
Cyfiawn myfyr gorfyw;
Parhad ei symbyliad byw
Yw urddunedd cerdd anwyw.

Rhodda nerth dreiddia'n wyrthiol—i gelloedd
Pob gallu meddyliol;
Nerth ydyw anwrthodol,—iawn mawrhau
Ei dylanwadau diail eneidiol.

Pura wyneb yr enaid,
Rhanau byw ei rwn heb baid;
Braenara y bryn eirian,
A'i droi i'w glir goethder glan.
Egyr y gwir, rhwyga'r gau,
Dirnadaeth dyr y nodau.
Rhed ei hawel i'r deall,
El heibio'i wyw niwl heb ball;
Anniwall yw'n ei hawyr,
A'i lan deg oleuni dyr;
A'r farn a gadarn godir
O'i llwch tew oll i uwch tir;
Ei hanianawd eneinir,
A'i bryniog lys bery'n glir.
E fyn cof a'i wanc hefyd
Dynu'i faeth o'i llydan fyd;
Hwn gyfyd yn ei gafael,
Ceidw ffaith fel cof di-ffael.

A'r chwaeth yr i'w choeth oriel,—ac hoffa
Gyff y pur a'r uchel;
Ei gresyn ga yr isel,
Ac hoffus swyn gaiff ei sel.

I'r ewyllys try allu
Wel ei thaith a deil ei thu ;
A dyben y gydwybod
A red yn nes i'r da nod ;
A'r dyn glwys wel trwy'i dawn glân
Nwyd ei enaid ei hunan !

Can' hawddfyd i'n cyneddfau—i chwareu
Uwch eu heurog fryniau ;
Gwych redeg uwch y rhodau—trwy'r nifwl,
Wna y crib-feddwl mewn cerub-foddau.

Y meddwl bach, meiddiol, byw,
Hynodol hedyn ydyw ;
Y bywiol beth o'i bwl bant
Yn eginyn gogoniant ;
Blaguriad abl ei gryd iach,
A ddwys gliria'n ddysgleiriach ;
Ei dasg ef yw dysgu iaith,
Y mae'n gwybod mewn gobaith ;
Tori geiriau trwy gariad
Y mae efe i'w fam fad,
A gwylio'n graff ac holi,
A *gwyro* am ei gair hi.

Rhyw synied ei gwers union,
Ef a ddeil ar feddwl hon ;
Adholi, synied eilwaith,
Gweled ffurf y galed ffaith ;
Gwenau'r fam yn gynar fu
Wir nawdd i'w athronyddu ;
Diwyllia 'i hun—enaid llaith,
Ar aelwyd ei wrolwaith.

Dawn ei llawenydd dania holl anian,
Dirwyniad bywyd yr enaid buan ;
Ac o dywyllwch ei godi allan
A'i llaw berorol i'w llwybrau arian ;
A chwery yn wych eirian—uwch berw,
Mor ddidwrw yn mroydd y daran.

Dyna'i hysgolion dinesig hwylus,
Yn cu adseinio yr ieuanc dawnus ;
Llencyn uchel a'i llwnc yn awchus,
A medr lwyr dori'r meidrol a'r dyrus ;
Ac impiad oesau campus—yw dysg plant,
Iawn a doeth fyddant, Wybodaeth foddus !

Addas yw gwylied uwch addysg Gwalia,
O Berwyn haeddfawr a bro ein Hwyddfa ;
O Dyfed dyner da fywyd daena
I ganol mynwes ddigynil Mona ;
Nodded Ior i'r newydd da,—Gwybodaeth,
Fo ei rhan helaeth hyd y farn ola' !

Nodda 'i dewredd newyddiaduron,
Tyrau yni 'i fflamau terwynion ;
Gwersi 'u toraeth a'u teg wres tirion
Yw lloneiddiad y darllenyddion ;
Noddant eu newyddion,—codant awydd
Y darllenydd i'w dorau llawnion.

Elwch gwyreinig yw ei chylchgronau,
Dyrnu 'u gwir eiriad wneir drwy'n gororau ;
Llawer yw 'i chedyrn, eu llewyrchiadau
Hwy sy' orburach na ser y borau ;
Goludog oleuadau,—cynyddol
Leuer tanbeidiol yw'r taen-wybodau!

Ei dydd oll diria gyd-ddealldwriaeth,
Cywir ei degwch drwy'n creadigaeth ;
Golud y werin a phob gwladwriaeth
A nodda 'i chalon a'i heddwch helaeth ;
Deiliaid pob rhyw dalaeth—wnaent gyd-dynu,
Drwy'n wych hyderu'n ei hiachawdwriaeth!

Ond arafwn, nod rhyfedd
Ei gwers iach yw gras a hedd ;
Hynod wr, ef wyr ond rhan,
Ior cofus wyr y cyfan ;
Doethawl yw Gwybodaeth lân
Yr unig ddysglaer anian.

Hanfod y Duwdod didor—yw tarddiad
Ei hurddas aneisor ;

Yni myg, mae'n ymagor,
Ynddo fel ysblenydd for!

Ac o'i feddwl caf addysg,—a golau
Ar galon anian-ddysg;
A thrwy 'n Duw, athrawon dysg
Ddyharddant egwyddorddysg.

Deallwn da ewyllys—Ion a'i ras
Yn y Rhosyn hysbys;
Ei ddihalog wers ddilys
Ddilena wledd lon ei lys.

Y Gwir hynaws yw gronyn
Bwyd hael tragwyddoldeb dyn;
Ei brid addewid a ddaeth
I'n byd a'r lân Wybodaeth.
Y gras myg yw'r Iesu mad,
Blaguryn bywiol gariad;
I'w gnawd daeth fel digon dyn,
Ein drud haeddiant yw'r Duwddyn.

A ddelo mewn meddyleg—i'w Berson,
Byw orsedd ucheldeg,
A der rodia yr adeg
I adwaen Duw mewn dawn deg.

Meddyliwn! mae 'i ddeheulaw—o danom
Mor dyner a dystaw;
Loned hwyl! o hyn y daw
Agweddiad tebyg iddaw.

Ei Wybodaeth, arbediad—bywyd yw
I'r byd er dyrchafiad;
Ei gyhoeddus ddatguddiad,
Ewyllys Ion yw ein lleshad.

Dyna Wybodaeth danbeidiol—hyf wawl,
Ddwyfola y dynol,
Oni bydd mor wyn heb ol
Trais y bradwr ysbrydol.

Nid gogoniant gwag anian,—ond cariad
Cywiraf yw 'i thrydan;
Ac o'i gwydd y diafl aflan
Ffy i'w lwm dwll fel fflam dân!

Os enbydus anwybodaeth—a dduodd
Ddeall y ddynoliaeth;
O ras Duw i'n drysau daeth
Ei wych der iachawdwriaeth.

Arweinia ei hathroniaeth—odidog
Pob dedwydd ddysgeidiaeth;
Adseinia ei hanesiaeth—awengar
Agoriad hygar y greadigaeth.

Dau wirionedd diraniad—yw natur,
Hynotaf ddatguddiad,
A Beibl Ion—coron cariad,
Bywiol wynt yw Beibl ein Tad.

Dyma yw ymod, enaid a mamaeth
Gorchestion nerthol bydol Wybodaeth;
Awyddu gweled gwell buddugoliaeth
Drwy ei dawn hwylus mae pelydr dynoliaeth;
Gwisg ei dysg esgud aeth—drwyddi'n olau,
A thrwy ei doniau treiddia 'i thrydaniaeth!

Doeth a byw Wybodaeth bur,—nefolryw,
Camp iach ydyw uwch cwymp pechadur!
Dymuniad haelaf ein Duw mewn dolur,
Gallu Iehofa ddygai y llafur;
Y Dyn cain o dan y cur—wnaeth gymod,
A rhoes i'w ceisio drysorau cysur.

Camp Iesu yw'r cam pwysig,—ffrwythau hon
Yw henaf roddion y nef fawreddig;
Cana etifedd y dyn cyntefig
I'w lun bwriadol, yn lân buredig;
Ei dueddiad yw diddig—ufuddhau,
Tra'n cario nodau'r Oen coronedig!

Cwmpasog yw camp Iesu,—enaid, cân,
Uwch asur anian cei 'n iach serenu!
Syniad cariadus hon ydyw credu,
Codi 'i hurddas dihoced a'i harddu,
Byw ei da allan heb ei dywyllu,
Agor ei gwiredd hawddgar a'i garu;
Ac yna hawdd cynyddu,—'nabod tant
Ei goraf lwyddiant a gorfoleddu!

Trwy ynysoedd pellenig teyrnasa,
Pob ffug a gwympir, seinir hosana!
Gwel wawr hapus! goleuir Ewropa,
Croesa ei bwriad cywir Siberia;
Ac yn eu hundon y bydd cân India,
A moli awen yr Himalaya;
A miwsig Affric ysig ac Asia,
Ac hwylia 'i hymbwyll drwy wlad Columbia!
Buan eheded, caned dud Cina,
Didrwst rheoled wywder Australia;
Ac wed'yn uwch y coda,—caddug hir
Anial oleuir a'n hil a lywia!

---

## *BRAU A GWIR ODIDOGRWYDD.*

"Pob cnawd sydd wellt, a'i holl odidogrwydd fel blodeuyn y maes."—*Y Beibl.*

Oes y llysiau lluosog,—oes y dail
Yw oes dyn trwmlwythog;
Eto 'i rinwedd tarianog—yw eiloes,
Uwchlaw'r duloes trychwilia'r Dihalog.

Ffawd gwyw y gwellt, er hoffed gwedd—ydyw,
Yw ffawd ei ucheledd;
Blodeuir, ond, bobl, diwedd,
Oes o barch yw mynwes bedd.

Pob cnawd ar ei rawd sy'n rhodio—o'r byd
I'r bedd yn ddiwrthdro;
Ond enaid, er edwino—ei breswyl,
Ei hunan anwyl nid yw yn huno.

Pob cnawd, medd llais Iachawdwr,
Hanes gwyw yw einioes gwr;
Ah! blodyn bywiol ydyw
O brudd daith, fel breuddwyd yw;
Neu hanesiaeth un noson,
Neu flewyn del o flaen y don,
Neu agoriad ar gaerydd
Dwyrain dderch fel darn o ddydd.
Agora ei hawddgaraf
Hoewbur wên fel boreu haf;
Ond cymyl enbyd ceimion
Dduant lwydd ei hedd hynt lon;
Taran ar daran dora,
A'r fellten hyf gorfolltio wna!
Yn lle gwawr, llen gwyll i gyd
Yw hyf hoenfa'i gyfanfyd;
Cysur, gobaith ymaith ânt
Ar holl ferw'r llifeiriant;
Aelodau 'i deulu ydynt
Dan ddig wae daneddog wynt,
Ystorm, ystorm drist o hyd,
Buan wywa eu bywyd;
Ei blant o un i un änt
I gynes gylch gogoniant;

Oh! alar byw, hawlia'r bedd
Ei dawel wraig o'r diwedd!
Mwy ochain heb ddim iechyd,
O dan bwys ergydion byd,
Mae efe gan ymofyn
Am hedd glwys yn medd y glyn!
Gwywedig wellt teg ydym,
Blodau rhad i'r bladur y'm;
Aruchel yw y fedel fawr,
A'r oesau yw ei thrysawr;
Medir oes! ymadaw raid,
Er a gwynom, rai gweiniaid;
Y bedd oer, mae rhybudd hwn
Bob adeg ar bob pegwn
O'n daear, dyna'r diwedd,
Llechu b'om yn llwch y bedd.

A oes byd uwch nos bodolaeth
Heb ing cur, heb angeu caeth,
Heb wael rudd, ond bywiol ros
O ddawn iraidd yn aros
Ar y wyneb eirianaidd,
Na chwa oer wanycha aidd,
Na gwelwi ar un galon,
Na chywair lleddf nycha'r llon
Na'r ofn ddeil yr afon ddu,
Na bedd oer i'n byddaru,
Na chwmwl dwl trwy'r nen der
I danio'i hwybreu dyner!

A oes man heb un nos mwy,
Tremiad Naf yno'n tramwy,
A bywyd, bywyd pêr byth
Trwy y gofod tragyfyth?
Oes, enaid, gwrando seiniau
Neges hwn yn agoshau!

Pob cnawd brawd yw i'r gwellt brau,
Aer ing yw pawb o'n rhengau,
Wele had pob pechadur
Fel y gwellt dan ddeifiol gur;
I ogoniant egina
Ar y llawr fel brieill ha';
Egina, gwena'n deg wâr,
A i'w geinwedd yn gynar;
Ond awel dawel a'i dyd
Ag oeraidd chwyth mewn gweryd.
Llwyr dori'r llinyn arian
A wna chwyth blin y chwa wan.

Claf ydyw y clwyfedig,
A'i natur mewn dolur dig;
Ieuenctyd bywyd yn boen,
Diarbed yw ei orboen;
A dail ei wynfyd eilwaith
Yn ddi-wawr ar y llawr llaith;
Ac o enaid y cyni
Dan y groes adeinia'i gri;
Try haeddiant taer ei weddi
At ei raid ogoniant Rhi.

Duw a adwaen y dedwydd,
Ei lwys law lesha'i lwydd,
Duw a yra yn dirion
Ei holl friw o'i ddidwyll fron;
Ei chwifio i uwchafiaeth
Deg y nef wna'r Duw a'i gwnaeth.

Gwellt brau yw dyddiau pob dyn,
Awr yw oes dynol rosyn;
Hoff awr ydyw a'i ffrydiad
Orhwylia i'r ddysglaer wlad.
Awr ieuenctyd, hyfryd hon,
Difryd serch leinw'i dwyfron;
Cariad pur yw cryd parod
Y dynawl anfarwawl fod.
Digilwg byd ei galon,
Didranc yw bryd pob llanc llon;
Yn enaid ei lân anian
Enwog yw am firain gân;
Chwareus, nwyfus ei nawd,
Yni oen yw 'i anianawd;
Ond gwelltyn wed'yn ydyw,
Aeth o'i boen o blith y byw.

Hoff eneth! y mae ffyniant
Dy oes hardd fel canaid sant;
Fel awel dawel yn dod
O haeddfawr nef yw'th wyddfod;
Tiriondeb dy wyneb di

Yw gwawl-wyneb goleuni;
Bytholfyd fywyd a fydd
Dy ogoniant a'i gynydd!
Na, llygedyn gwyn teg wedd
Yw rhan harddwch rhianedd.

Heddyw yr oes sydd, er hyn,
O bwl duedd blodeuyn.
Oh! brau ydyw pob brodor,
Brau yw f' oes o'r bru, fy Ior.

Brau yw einioes y brenin,—brau ydyw
Fel brodyr cyffredin;
Brau yw'r oes er bri a rhin,
Brau oriau biau'r werin.

Er adeg llygru Eden,
Nychdod pob pechod sydd ben;
Pob oedran, o'r baban bach,
A rifa oriau afiach!
Ar y don megys ar dir
Briwiau hefyd a brofir;
Clefydon creulon yw croes
Erwinawl goreu einioes;
Helyntion marwol heintiau
Yma erioed sy'n marwhau
Y galon dirion—ei dydd
Ddybena'n nosaidd beunydd!

Dagrau yw'n godidogrwydd,
A siomiant yw llifiant ein llwydd ;
Miwsig gwan rhwng taranau
Mewn ofn y'm yn ei fwynhau ;
Awr o fawsaidd bêr fiwsig,
Hun dêr rhwng taranau dig,
Yw'n cyfan, fel i'n cofiaw
Am wlad rydd y molawd draw !

Nid yw *cyfoeth* ond cofeb,
Ei anwar nwyd ni wyr neb ;
Anwadal bryfyn ydyw,
Oer nawdd hwn, dirinwedd yw ;
Gwellt ydyw, gwyllt ei aden,
Duw ein byd gais fod yn ben ;
Dyogri 'i odidawgrwydd
Wna yr Ior a'i wynt yn rhwydd!

Nid yw *enw* ond hanes,
Marwol yw heb nemawr les;
Ar ei wyneb diriniau
Aml dwg wên o deimlad gau.
Newidiol yw ei nodwedd,
Draen mawr yw i'r hwn a'i medd ;
Ni saif hanes y fynyd,
Olwyna barn heuliau'n byd !
Gwellt yw enw gwyllt anian,
Ior a'i dyd ryw ddydd ar dân !

Nid yw *bonedd* ond banod,
Gwga Naf ar y gwag nod;
Nid yr achau a drechant
Y ddwys awr, ond crefydd sant;
Gwellt ydyw gwaed gwell teidiau,
A'i fri hen, nid i'w fawrhau;
Nid y banod yw bonedd,
Ni wel hwn hael win y wledd;
Duw hagra 'i odidogrwydd,
*Anwyl* oll pan ddaw 'n ei lwydd.

Ac *addysg* ydyw gwyddor,
Halog yw'n dy olwg, Ior;
Mae'n flodyn y maes dynawl,
Fel o werth heb ddwyfol hawl;
Oh! gu addysg degeiddiaf,
A'i rhin wyt yn nghlorian Naf?
Teg wyrdd wyt, agori ddor
I firain hedd nef-oror!
Na atto Duw, gwellt yw dysg,
Oh! feddwl, cais nef-addysg.

Nid yw *talent* ond telyn,
Anian saeth yw 'i thrydan syn;
Dirwyniad prid ei rhiniau
A'i llais hoff, nid yw'n lleshau;
Oferedd ydwyt, forwyn,
Dy iawn mawr, nid Ion a'i myn;
Rhodd ydyw per a ddodwyd—

*Dyn ei hun* yw'r tanbaid nwyd;
Gwyll talent, gwellt yw eilwaith
A dania'r ffagl—dyna'r ffaith.

*Cyneddfau* yw doniau dyn,
A doddir ini 'n dyddyn
I'w wthio dan wrteithiad,
Dyma yw'n dadblygiad mad;
Rhan o honom—rhin enaid,
Ein plwyf yw a Duw o'n plaid;
Ond ofer, ofer hefyd,
I dân barn doniau y byd!

Meusydd natur yw *moesau*,
Heuliad clod yw 'n blodau clau;
Y blodau wyneb-ledant,
Ond cymod uwch-amod ni chânt:
Y moesol sydd yn masu
Dan ing dwys dawn angeu du;
Dihaeddiant er dyhuddo
Gwys gref Duw y'nt megys gro;
Meusydd gwellt yw pob moesau
Feddant ar ogoniant gau!

Oh! am iawn gliria'm mynwes,
Iawn a rydd ddiderfyn wres.

A oes rhiniau a ddysglaer serenant
Yn ing nos erwin angeu a soriant?

A oes i'r oesau rasau arosant
I gywir gynal eu gwir ogoniant?
Y gariadus dorf gredant—i'r Iesu,
Eu rhan yw synu, a'i riniau seiniant.

Duw yn ei gariad drud yw ein gwron,
Yr Iesu luniodd ras i'w elynion
Drwy ei angeu a dyfnder ei ingion;
Ef a'n gwared—ymofyn ei goron
Anfarwol, wnelom, feirwon,—ei benaf
Riniau haelaf belydrai'n anwylion.

Rhiniau a erys fel coron o ariant,
Yw rhiniau weodd y Gair, ni wywant;
Dihafal duedd, tanbaid flodeuant
Ar deg eigionau hyfryd gogoniant;
Eu nodau ni newidiant,—mil miloedd
Draw yn y nefoedd trwy hyny nofiant.

Ei swynol rasau anwyl hir oesant,
Os ynddo, cyfoeth sy'n haeddu cofiant;
Ei ddawn degeiddia haniad a gwyddiant,
Rhiniau Iesu dragwyddol deyrnasant;
Byw rasau roddent brisiant—i'r dynol;
A'u gwir moesol yn enwog rymusant.

Credu yn Iesu yw'n hedd,
A'n hanfarwol lân fawredd;
Gogonedd rhinwedd a roes

Ei wirionedd i'r einioes;
Ni a ddylem ei addoli,
Iddo, er braint, rhodder y bri.

Dawn y nef i'n doniau ni
Ydyw anian adeni;
Egwyddor Duw Ior yw'r *dyn*
Ddyga'r dedwydd gredadyn;
Ebrwydd i'w santeiddrwydd ter
O'i rwydfaith Ior a'i adfer;
Nid gwyw byth "pob cnawd" i gyd,
Nid beiau yw, ond bywyd!

Udgorn treiddiol, mewnol, maith,
Diria'r Duwlais drwy'r dylaith;
Obry deffry meirw'r don,
Dyrwygir daear-eigion!
Ar fainc gadarn y farn fawr,
Daw yr Ynad eirianwawr,
Y Gair enwog—Gwirionedd,
Ernes byw uwch teyrnas bedd:
Bryniawdwr! dydd barn ydyw,
Uchel boed dy orchwyl byw!

Ger ei fainc, dygir a fu
Trwy 'u hoesoedd yn teyrnasu;
Dygir trais, er dagrau trwch,
Mewn hawl i wydd manylwch;

Dygir y gwaredigion,
Gwyr braint bras yno ger bron;
Pob mab a phawb oll—pob merch,
Ewch yno, mae'n eich anerch!
Rhydd rad ei gariad i'r gwir,
A'i daraniad i'r anwir!
Godidogrwydd Arglwydd Ior,
Digofus sy'n dygyfor;
Ac hyrddia pob gau harddwch
Fel gwellt brau i'r fflamau fflwch!
Eiddo 'n Crist—haeddianau croes,
A wêl yni ail-einioes;
Deuant oll i dy eu Tad,
I'w duwiol adflodeuad!

O! ddynion am ddaioni—uchelaf,
Ymchwiliwn mewn egni;
Er hedeg mewn mawrhydi,
Y bedd fydd ein hanedd ni!

Uwch y bedd yn iach y byddaf,—bythol
Bethau etifeddaf;
Ni ddaw gwyw enddig auaf
I gynteddoedd nefoedd Naf!

# *TWR LLUNDAIN.*

CYNWYSIAD.

CANIAD I.—Trem gyffredinol ar y Twr yn wyneb traddodiad—Rhagoroldeb hanesiaeth—Cyffyrddiadau a phrif linellau ei nodweddiad.

CANIAD II.—Sylfaeniad y Twr gan y Gorchfygwr—Ei ddylanwad ar lywod-ddysg Prydain—Y *Feudal System*—Y Magna Charta, yr hon a arwyddwyd yn y Twr.

CANIAD III.—Desgrifiad manwl o hono—Y Twr fel amddiffynfa a brenindy.

CANIAD IV.—Y Twr fel carchardy a thrysorfa.

## I.

Trwy holl hoender Twr Llundain—a'i ranau
Truenus eu hadsain;
Trwy'i wychedd, trwy ei ochain—lleddflon af,
Hoenus y moriaf ei hanes mirain.

Twr Llundain! ei gain ogonedd—yw pen
Pinacl pob twr rhyfedd;
Annifyrol hen fawredd
Yr oesau yw ar ei sedd.

Twr ydyw tarawiadol,—ei hanes
Dynaf o'r gorphenol;
Pur syniad i'r presenol
Yw o ddawn hyf blwyddi'n ol.

Pwy a'i cododd? camp cadarn,—diedwi
Ydyw fel pe'n haiarn;
Ni ysir ef yn wasarn,
Adail fydd hyd wawl y farn!

Pwy a'i cododd? camp yw cydio—enw
Ei gychwynydd wrtho;
Daw'r llachar Caisar i'r co',
Ai ef naddodd fan iddo?

Traddodiad, taer ddywedi—mai tybiaeth
Yw'm hatebiad heini';
Byth-bryda'th feddwl dwl di—
Iwl lunodd ei oleuni!

Ofer adrodd i'w Fawrhydri—godi
Ei gedyrn sylfeini;
Er dy henaint rhaid ini
Enwi oes nes i'n hoes ni.

Traddodiad fel bâd heb oedi—i'w niwloedd
Hen eled mewn anfri,
Hanesiaeth, cyn ei nosi,
Eirianaf wawr, arwain fi.

Ar lan y Twr wele'n tori—nerth cur
Wyth cant o bell flwyddi;
Swyn doniol syniad heini—yw'r hanes
Sydd yn ei fynwes a'i dduon feini.

Ei greigiog fanog feini—oll ydynt
Yn llwydaidd gan oerni;
Ger eu bron agora bri
Croew henaint i'w coroni.

Oh! geryg ymagorwch—eich hanes
A chwynion eich tristwch,
A'r hwylio gwyllt a'r elwch,
A mor trais y muriau trwch.

Chwi furiau! traethwch fawredd—eich hanes
A'ch enwog hen fonedd;
Mynegwch mewn mwyn agwedd—gyfrinion
Cloion coll calon y cellau culwedd.

Oh! dymuniad y meini—godidog
A dedwydd yw tewi;
Rhoi tafod i draddodi
I'w feini 'n awr, fynwn i.

Poenus yr ai, pe'n siarad—ei geryg
Eu haraeth trwy'r teimlad;
Obry'n curo, bron cariad
Ai o'i phwyll heb hoff wellhad.

Wed'yn llonid ein holl anian—â chân
Uwch yni pob cyngan,
A'r llu'n byw ar y llanw ban,
A'i swn nwyfus yn hofian!

Yna taran yn tori—ar unwaith
Drwy'r gorhoenus aspri ;
Un cadarn eto'n codi
Trwy ei fraint i'r Twr o fri !

Twr enwog oedd mewn taranau—seinfawr,
Maes ynfyd cuddfrwydrau ;
A'i ber ddydd yn ymbruddhau,
Heb wyriad, braidd bob borau.

Gwyliwch hediad amgylchiadau—hynod
Yn hanes ei oesau ;
Dirdorent ar ei dyrau—yn ddibaid,
Tarawent enaid pob teyrn i'w tonau.

Bywyd cofus byd cyfan—am oesau
Oedd miwsig ei anian ;
Ei doredig fyw drydan
Newidiai gylch nawd ei gân.

Y llon a'r lleddf ail llanw'r lli'—newidient
Holl nodwedd ei ddyri' ;
Y miloedd heddyw 'n moli—ond buan
Deuai rhyw daran-dwrw i'w dori !

Ei athrylith yrai olau—i'r wlad
Ar lidiog adegau ;
Ond gwael ffug ei gaddug gau,
Bu i'w hanian yn boenau !

Melldith ai bendith pob undeb—ydoedd
Rhediad ei ddysgleirdeb?
Rhoddai 'i anian rwyddineb—i'r wlad lân,
I wasgu 'i hunan i'w theg esgyneb?

"Llewelyn ein Llyw Olaf!"—ai dy ben
Di o bawb a welaf
Ar y Twr?—oer y toraf—ei enw,
Neu dwymo hwnw fel y dymunaf!

Ai nid ellid ein diwyllio—'n genedl
Gref o gynydd hebddo?
Oedd ei frad yn fudd i'w fro,
A'i raiadrol gudd-frwydro?

Oedd y Twr, f'Arglwydd tirion,—a'i ddu wn
Yn ddaioni graslon?
Feddianaf fi ddawn, fy Ion,
Eill brofi'r llwybrau hyfion?

Oh! na feiddier anfoddio—Hwylusydd
Pur lesiant byd cryno;
Ond dy fin, gwnaed a fyno,—yn ddibrin
A ddylai doddi'n addoliad iddo!

II.

Bro ein Twr—y bryn tirion—bro ingoedd,
Bro angeu, adgofion,
Bro dery y brodorion
A'i hen fri yw'n hoewfro hon.

Mawl i hynafiaeth am oleu nwyfus,
Ar y cynyddol Wyn Dwr coneddus,
Effaith ymroddiad—hoff waith mawreddus
Yw ei ddiogel agwedd golygus;
Gwir gwmpawd gorpampus—luniodd rwymau
Clod ei furiau cedyrn, clodforus!

William y Brenin, fflamiai y bryniau
A'i ddig, lwythog erch fuddugoliaethau,
Gyrai yr estron beiddgar, er rhwystrau,
I'r bobl hyderus raib ei bladuriau;
A dygodd, rhag bidogau,—y Saeson
Iddo eu coron euraidd a'u cyrau!

Ond Ah! i'r Ddinas* wender ddianaf,
Ni wnai anturio 'n ei yni taeraf,
Cyn amddiffyn yn y modd hoffaf
Ei hun a'i filwyr annof a haelaf;
Ar y bryn llachar braf—amddiffynfa
Yn awr a dora i'w filwyr dewraf.

Ar ol i'r brenin gerwin ei guriad
Daraw yn isel tan ei deyrnasiad,
Y llu Saesonig mewn llais a syniad,
A drygu haf hiraeth pob drwg fwriad;
Fe ddaliodd ar feddyliad—o wneuthur
Twr i'w benadur ter heb un oediad.

* Llundain.

Gair y Gorchfygwr gorwychaf agen
Yrai i diroedd syber daearen;
Buan dyrchai uwch ban y dywarchen
A dolur obry, 'r adail i'r wybren;
Ni chilia byth ei uchel ben,—chwardda
Fry ar hyf wyllta' niwlog fro'r fellten!

Twr agored trugaredd—oedd i'r teyrnwyr,
Ei gywir filwyr o'ent mewn gorfoledd;
Ond weithiau i'r Sais twr *trais* tost a *rhysedd*,
A'r Twr a ddygai i'r tir eiddigedd!
Lledai gogoniant holldeg ei geinwedd
I'r wlad yn ddolur lidiai'n ddialedd!
Dihoenai ei dihunedd;—hyrddai plaid
O'r Twr i'w henaid eiriau taranwedd!

Y Llywydd enwog wnai'i ddidwyll ddonio
A digonedd o yni digwyno;
Ei fyddin oedd yn ufudd iawn iddo,
Taran digariad y teyrn diguro:
Ei lid ehelaeth barai 'r wlad wylo
Trwyddi 'n syniad y Twr oedd yn seinio!

Heidiau'n dolefain, gwaed yn dylifo,
Y llu 'n iselaidd, oll yn noswylio!
Urdd ein Twr oedd yn taro—y miloedd
Ail gwae y nefoedd yn hwyliog nofio!

Dêr Dwr, esgoraist ar drais a gwyraeth,
Ar anhoff deulu dirin Ffeudaliaeth;

O tan ei bynau, heintiau unbenaeth
Rygnai hyd elor eigion y dalaeth;
Llaw hydraws y llywodraeth—gurai'r wlad
I'w dirymusiad mewn bront ormesiaeth.

Rhanai i'w deulu 'n ddarnau y dalaeth,
A'r ffyddlawn weis uniawn am eu gwasanaeth;
Oll ar y pinacl—llawer y Penaeth,
Yntau a chwifiai iddynt uwchafiaeth!
Dyrwygent y diriogaeth;—ymwelent
A dieneidient Hen Brydain odiaeth!

Codi castelli castiog tywyllwch,
A enbyd dagai ei thanbaid degwch;
Eofn y suddent mewn dwfn waseiddiwch,
Y fro ehedai mewn pob hyfrydwch;
Eigion hyrddiog anharddwch—y swrth fodd,
A'i dwys diriodd ar draeth diystyrwch!

Rho'w'd iau haiarnaidd ar war y deyrnas,
A phlwm a phylor ddoi'n fflam o'i Phalas;
Y Twr a lwyddai—antur ei luddias,
Llwyddai ei gampau'n lluoedd o'i gwmpas;
O! galonog alanas!—gwir Ryddid
Wed'yn ddeorid o'i anedd ddiras!

Onid äi'n bonedd mirain dan benyd?
Onid äi'r fwyell filain drwy 'i fywyd?
Onid äi'n hoewfro a'n doniau hyfryd
I eiddig wyro mewn gradd i'w gweryd?

Gwir i'w i'r trawsder beiddgar a'r tristyd
Ysu ei moethau hen a'i esmwythyd ;
Ond Ah! er hyny, codai o'r enyd
Agoriad i safle gwladgar disyflyd ;
O'r Twr bar eto i'r byd,—acw gwel
Edyn dau angel da yn diengyd !

*Iawnder* a *Rhyddid*, O ! Dwr, a roddaist
O'th fron yn fuddion i'r werin faeddaist ;
Mor oedd gallu y mawredd a gollaist,
Mwy na'i ewyllys falchdrem enillaist,
Y Rhyddid a arweddaist—yw coron
Dy eiriau union, er a daranaist.

O! wawr, hedd yma, hwre, hawddamor!
Ehed em wiwgain wedi ymagor!
Bri ydyw Rhyddid Prydain i'w brodor,
Bri a deg yra pob brad o'i goror ;
Ac o ing y Twr gyngor—Rhyddid llon
Hawliwyd un noson i'r wlad aneisior.

Ei Fagna Charta* nofia yn hafol
Ei dylanwadau hael a hynodol;
Hoff ffrydiau anian deddf gyffredinol

* Canlyniad gormes drychfeddwl sylfaenol y Twr—y Feudal System—oedd y Magna Charta, Breinlen Rhyddid Prydain, ac, mewn ystyr eang, Ewrop ac America, a sylfaen cyfreithiau y cyfryw wledydd, fel y gellir dywedyd am y Twr: "Allan o'r bwytawr y daeth bwyd, ac o'r cryf y daeth allan felusdra."—Gwel *Hallam's Middle Ages.*

Yw ei gwedd eurog ac egwyddorol;
Y mae ei dawn ymdonol—trwy y byd
Ail gwên o fywyd neu wawl gwynfaol.

Hon ydyw gwreiddyn eneidiog Rhyddid
Ter a bywiolaf ein gwlad trybelid;
Dygai i'w hafan ein gwlad o'i gofid,
Darfu'r dirladd a'r dirfawr du erlid;
Gwawr wen ein breinlen brid—hawliwn ni,
Dacw hen yni'n Rhyddid cynhenid!

Hon draw gyhoeddodd ddydd yn drag'wyddol
I'n breiniau hanant o'n Hion breninol;
Y Twr a ddoniodd y natur ddynol
A breiniau odiaeth ein bri eneidiol;
Ei Rhyddid pereiddiol—a fynai hon
O lid y goron, er lles gwladgarol.

Oesolfyw roddiad, ei sail fawreddig
Yw hoewbrid anian pob deddf Brydeinig;
Hon yw'n sail hudwedd, arni'n seiliedig
Mae yr adeilad mad ansiomedig;
A dyddiad cyfnod diddig—yw'r freinlen,
Hi drodd fri Eden i'n gwlad ryddfrydig.

Dwr anfarwol mewn hydrin oferedd,
Ond breinlen geinwen yw ei ogonedd,
Dery wyrdd enw i'w hydr arddunedd
Tra haul yn codi trwy len cyhydedd!

Uchaf fur ei wych fawredd—yw'n ddiau,
A choron rhadau 'i lachar anrhydedd!

III.

Nid twr ydwyt, ond tyrau,—twr oeddit
    Rhyw ddydd, ar y dechrau;
Y Twr Gwyn trwy y gynau—cadarnaf,
Ydyw yr henaf o'n holl darianau.

Crug o dyroedd fel creigiau—a godwyd
    Yn gydiol â'i seiliau,
  O oes i oes drwy'r oesau
  Ei demlau ef wnaent amlhau.

Eofn Dwr, rhifwn ei dyrau,—deuddeg
    Dyddan yw'r pinaclau;
  Pedwar porth—pwy dyr y pau?
  Ffau hynod am ei phoenau!

    Porth y Bradwr anwrol
    Oedd ddor ffau troseddwyr ffol;
    Porth y Dwr i'r un parth daw
    Yr adeg gwnewch ei rodiaw;
    Porth y Llew oedd parth llawen,
    A lle da y llewod hen;
    A'r Porth Haiarn, ni sarnir
    Araeth hwn tra mor a thir.

Adeilad fu uwch y dolydd—tyfawl,
    A'r Tafwys ysblenydd,

Fel dolen o fawl dieilydd—islaw,
Acw yn curaw ceinciau y Werydd!

Hoewbur hwyliai heibio'r awelon,
Uwch su rhwyfol ac iachus yr afon;
Ac ar deg waneg trwy'r gwridog geinion,
Wele ogoniant yr hwyliau gwynion;
Eu byw yni a'u dybenion—golau,
Welid o'i furiau 'n hidlo difyrion.

A'r Ddinas i'w harddunedd--a welodd
Yn hwylio mewn mawredd;
Hon hedai o'i dinodedd,
Ger ei sail, i'w chlodgar sedd.

O! y muriau fel moroedd—a wyliodd
Yn hulio 'i amgylchoedd,
Yntau ei hun, er gwynt, oedd
Uwch nifwl mewn iach nefoedd.

Ei einioes welodd y Ddinas olau,
A'i hoff gydiad hardd mewn ffagodau; *
Clyw'r floedd rwygol, "Tân,"—"tân" fel tonau
Ysa 'i mawredd clodus a'i muriau!
Ai dial ydoedd? Adeiladau
Gywrain naddwyd, wnaed yn garneddau!
Eithr y Twr, pen aruthr y tyrau,
Ga'i ddiengyd o fflam g'oedd angau!

* Tân mawr Llundain.

Freuddwydiol anfarwol hen furiau,
Oesau hwyliant heibio eu seiliau,
Megys gwancus cildynus donau
Toreithiog dorant ar y traethau;
Ond erys hoen ei dyrau—nertholwedd,
Er holl rysedd gorwyll yr oesau!

O! wir arucheledd, pêr yw archwilio
Ardderchog lechres ei hanes heno;
O! dyma fawredd, da yw myfyrio
Y Twr eiddun yn llewyrch llen trwyddo.
Duwiesau hanes ynddo'n adseinio,
Hanesion engyl weithian sy'n ango'!
Oesau o hanes, pa ddawn fedr synio
Heintiau yr eigion oedd ynddo'n trigo?
Acenion hwn sy'n cwyno—heb balldod—
For diwaelod o fâr du a wylo!

Gwarchodwr gorwych ydoedd,—hoenwawr wedd,
Yn yr hen ganrifoedd;
Yma herio y moroedd
I gludo'i *well* i'n gwlad oedd!

Uchel gastell, chwalai gistiau—'r gelyn
Gorgaled yn ddarnau,
A'i ffroenguchel fagnelau
Ewrop oll a wyliai'r pau.

Er gwylied mewn rhagolwg,—ac herio
O gyraedd ei gilwg,

I ymladd, ni ddoi'n amlwg
Wed'yn un gelyn mewn gwg.

Myned oedd yr Ellmyn du,
Archfegin, i'w orchfygu ;
Ymrodiai ar y mor dig
Ei lu cadarn fel coedwig ;
Ei lynges fel niwl angau
Am ei gylch oedd yn ymgau ;
Ond arafu'n od ryfedd
A wnelai pan welai wedd
Y Twr llawn tu hwnt i'r lli'
Acw wed'yn yn codi !
Yn ol elai o'i olwg,
Er dod i wyddfod ei wg;
Iddo gwell oedd 'stormydd gau
Dwr enwyllt na'i daranau !

Ystryw anian estroniaid,—ac arfau
Drwg yrfa gwrthddeiliaid,
Driniai dewrder ei enaid
Yn nydd ei rwysg pan oedd raid.

Ah, ni welodd hwn alon—na luddiai
Lwyddiant ei amcanion ;
Ac erys ei ragorion
A'i drais ef hyd yr oes hon.

Try olwyn arall trwy 'i lenoriaeth,—ty
Fu'r Twr i'r freniniaeth,

A phalas hoff ehelaeth
I'r goron wir hygar wnaeth.

Ty'r brenin, ty'r gwin, ty i'r gwawl,—ty'r gwir,
Ty'r gau dauwynebawl;
Ty rhai da, ty rhai dihawl,
Ty rhai hynaws tirionawl.

Ty barn a phwyll, ty breiniau ffol,—ty dawn,
Ty dysg ymerodrol;
Ty i nwyd, ie, ty yn ol
Dawn odiaeth bod eneidiol.

Ty pob cam ac hynt pob cur,—ac hefyd
Ty cofio pob antur!
Ty herio pawb, ty rhai pur,
Ty ceisio mwyndant cysur!

Ty pob cân, ty cynganedd,—ac urddas
Teg harddwch breninedd;
A thy *gwawr* pob rhwysgfawredd,
Ty pen gwlad, ty poen a gwledd!

## IV.

Ond nesach hed i'w nos chwith,—i wylledd
Ei gellau a'i dryblith;
I agoriad digyrith
Carchar oer anwar ei rith.

O! athrylith, rho olau,—cuddia
Caddug dwfn ei ffeithiau;
Addwyn ser sydd yn neshau
I ddal gwawl i'm meddyliau.

Aur Hanesydd! fel rhyw noson—o ser
Yw'th siriol grybwyllion;
Ac yn eu gwawr yr awr hon
Ceir golwg ar ei galon.

I'r Carchar Mawr y cyrchwyd—pob doniau,
Pawb dynion a hyrddiwyd;
Fel yn ol dihafal nwyd
Y gwr i'r orsedd gariwyd.

Nid barn ond rhagfarn a droes—ugeiniau
I ganol ei fawrloes;
Y mae swn maes eu heinioes
Marwol hwy fel mor o loes!

Bu engyl enwog yn byw englynu*
Yma a'u bywyd i gyd yn gwaedu,
Mewn creulon gwynion yn pruddaidd ganu
Eu heinioes anwyl allan dan synu!
Llwm iawn eu golwg, oll yma'n gwaelu,
Eu rhan hwy ydoedd eu hymfarwnadu!

* Cyfeirir yma at y gwahanol gerfiadau sydd ar furiau ystafelloedd y Twr.—Gwel *Guide to the Tower*.

Gwir weision teg yr Iesu—mewn carchar,
Eneiniog hygar Ior oedd yn gwgu!

Asgre brudd! gwysia ger bron
Rai o'i wir garcharorion.

Cranmer, organer ei geinion,—hyrddiwyd
Ei urddas i'w eigion;
Ofer ryddid llofruddion
Oedd ffrwd hedd offeiriaid Ion.

Nid cariad fu, ond credo fain,—defod,
Nid y dwyfol adsain;
Priodol ryddid Prydain
Oedd gwers gul yr orsedd gain.

Bu credo'n coron yn curaw—'i deiliaid
I'w dilyn heb wyraw;
O wadu 'i llwybr, cydiai 'i llaw
Heb eithriad yn mhob athraw!

Nefol esgobion fel ysgubau--rhin,
Goronent yr oesau,
A fwriwyd rhwng ei furiau—i'w dychryn,
A'u lladd am ddilyn llwydd eu meddyliau.

Archesgob! parch i'w ysgol—os unol
A'r syniad breninol;
Onide ffawd enaid ffol
Oedd ei eiddo yn ddyddiol.

Esgob Laud wisgai y blodau,—bu yntau
Wrth bentan ei waeau;
Rhy bur ei awr i'w byrhau,
A'r fwyell er ei feiau!

Hanes Doctor* agora
Hanes blin fel nos o bla;
O, 'i wyndaith! bu'i erwindeb—at weision
Tywysog Anwyldeb;
Yn ei nwyd, yn fwy na neb,
Awchai 'i yni 'u trychineb!

Oedd wir Babydd o raib hebog—dirguriol,
Heb drugaredd llwynog;
Ni addolai'n ddihalog
Haul gras anfarwol y Grog.

Ei gredo fach, ei graid ef oedd—sylwedd
Ei seiliau am nefoedd;
Gwr i'w blaid gwaedgar ei bloedd,
Eneidiol adyn ydoedd.

Hyfrydai mewn cyfrodedd—creulonach
Na Bonner afiach a'i boenau rhyfedd!

Seintiau'n Hiesu oe'nt yn ysol,—yntau
Ger y pentwr bywiol,
Oer yrai her ar eu hol
I'r ffwrn chwerw uffernol!

* John Store, meddyg a Phabydd penboeth ac erledigaethus, yr hwn a ddienyddwyd yn 1571.

O'r diwedd rhedai awel—y goron
O gyrau 'i hwyl uchel,
Er ei hug haerllug a'i hel,
Bu'i noson yn boen isel.

Tiriwyd ef yn y Twr dwl,
Ei fudd oedd ei adfeddwl;
Am einioes annymunol—o lwydaidd
Erlidiwr Pabyddol;
Adgofiai ef am deg fawl
Y rhai wawdiai'n afreidiawl!

Er ei henaint dirinwedd,
Er ei fod ger dor ei fedd,
Yr un fath ei ran a fu
A thwr fynodd ferthyru!

John Baliol, wrol arwr,—o achau
Uchel fel rhyfelwr,
Yma gaed; byth mwy y gwr
Wel deg goron gwladgarwr.

Brenin ban ei Alban oedd,
A dewr lyw ei dir-luoedd;
Er ymladd mewn medr amlwg,
Ei goron fad hagrai'n fwg;
Yn y Twr buan tiriodd,
Ac haul ei ffawd golau ffodd!

Dygoda'i frwd gadfridog—gwyreinig
    Ei ranau godidog ;
I'r hanes dysglaer enwog,—gwel yni
Unig oleuni'i darian galonog.

    Ei frawd, Och! wnai 'i fradychu,
    Eilun dwl, i'w elyn du!
    A dybenwyd ei boenau,
    Seraff hyf, mewn dwyswawr ffau!

Am Wallace, Wallace, mae wylo,—*heiyrn*
    A'i *darniodd* i'w amdo!
  Ddued ingoedd diango,
  Treigla'i frad trwy wagle'i fro!

Dibris hwyliwyd Bruce eilwaith—i'w garchar
    Dig erchyll a diffaith ;
  Ond gwibiai enaid gobaith
  Ar ochr mur ei garchar maith.

Ann Boleyn, adnabu lid—ei harglwydd,
    Er hirglwyf a gofid ;
  Diraddiol a diryddid
  Oedd nos brudd y ddynes brid.

Och, wr erch! hwn a chwery—a'i wen ddarn
    Addurnodd ei wely!
  Ac heulwen deg ei lân dy
  A ddwrdiodd i'w ddaeardy!

Nid dyn wnai rhoi, ond *cnawd dall*
Dan ing ergydion anghall!
Addfwynaf wddf, ni fu 'i well
O dan fywyd un fwyell!

Fel Ann, Catrin, merch rhinwedd,
Arweiniai ef yr un wedd
I'w wely angenfilaidd;
Difai hon nes dofi 'i aidd!

Yn y Twr y bu'n tori—ei chalon,
Dymchwelodd ei haspri;
Ac haner pwys y cyni
Chwalai nerth ei chalon hi!

Ah! geneth o ogoniant,
Newyddwych un ddoi i'w chwant!
Rhodd fwynwawr wddf ei oenig,
Y fun der, i'w erfin dig!

I'w holl abred bu llwybrau—o'r *orsedd*,
Er arswyd ac ofnau;
Cai Banon* ieuanc boenau
Ei furiau ef i'w llwfrhau.

Ni fu *doethach, pertach* pen,
Ar fwynwddf unrhyw feinwen,
Nag oedd pen y feinwen fad
Droes i'w chur dros ei "chariad." †

* Lady Jane Gray. † Ei phriod.

O! nid coron, ond cariad
Annoeth ei bron, wnaeth ei brad;
Er bri' gwr bu rhagorol,
Aeth i'w ffawd fel geneth ffol;
Ei chalon oedd uchelaf,
Dallai 'i bron ei deall braf!

Cymerodd y camwri—digariad
Y goron uchelfri;
A rhan tost y coroni,
Ei wybod aeth a'i bywyd hi!

O gario'r ddysglaer goron,—du ofid
A yfodd fel afon;
Am fynyd, dyma fanon
A llanw bri 'n lloni 'i bron!

Buan wed'yn, bun ydoedd—agored
I'r gerwin dymestloedd;
Ond bywyd ei hysbryd oedd
Yn ei henaid yn winoedd!

Duw a'i noddodd i'w dienyddiad,—ffydd
Oedd ffon ei chynaliad;
A choron fel ei "chariad,"
Sion fyw gadd Sian fad!

Da yw tynu llen dywell
Ar y gudd arteithwawr gell;
A diengyd o'i hingion
I ras a hedd yr oes hon.

Goludfa yw i'n gwlad ferth,
Ehedfaen ein bro brydferth;
Cywreinfan yw i'r crwnfyd,
Daw i'w borth eneidiau byd;
Priodol hanes Prydain
Garia cwrs ei gaerau cain;
Crynodeb cywrain ydyw
O'r Hen Dwr; yn awr nid yw!
Ust hofia drwy bob 'stafell,
Rhyw ust pur o'r athrist pell!
Yn ei rin hen eir yn ol,
Rhwygir ffiniau'r gorphenol!
Rhyw geidwad eurog ydyw
Dry y bedd i dir y byw!
Egyr hanes Gwirionedd,
Hanes ei fâr harnais fedd!
Daw a'r Hen Fyd i'r wyneb
Yn gyfan, ni ofna neb!

O! cawn rwyfo drwy'r canrifoedd—yma,
Gwel'd eu gemawg wisgoedd;
Dyfalu 'u rhaid fel yr oedd
Ar filiwn o ryfeloedd!

Os am weled ei swm hylaw,—ei aur
A'i arian yn pefriaw,
O bob llun ac ar bob llaw,
I'r Adail dos i rodiaw!

# PRYDDESTAU.

---

## *DRYLLIAD YR ATLANTIC.*

[I'r Bryddest hon y dyfarnwyd Cadair a Gwobr Eisteddfod Cymreigyddion Utica, Calan, 1875.]

Ardderchog for! aflonydd enaid anian,
A delw fawr weledig Ior ei hunan;
Mor hyawdl ydwyt yn cyhoeddi nerthoedd
Dy Grëydd da i drymllyd glustiau'r bydoedd.
Y mae gwrthrychau eraill yn dwyn delw
Ac argraff dwyfol law yn glir i'n sylw;
Ond ydwyt, for, uwchlaw pob gwrthrych arall
Yn taflu Duw yn drwyadl braidd i'n deall!
Mae'r Anweledig yn ymwthio'n amlwg
Drwy'th donau di mewn dirgel fodd i'r golwg;
Mae'r dyn myfyrgar ar dy draeth yn teimlo
Fod y Trag'wyddol Ysbryd ganddo yno!
A phan yn hwylio ar dy chwydd-gefn llydan,
Yn mhell o dir, mae fel pe'n hwylio allan
Ar gefnfor trag'wyddoldeb—wedi gado
Penrhyn ola'r ddaear—bythol forio
Heb obaith cyraedd glan, fel na b'ai creigiau
Yn deddfu'th gwrs a nodi dy derfynau!

Mae holl nodweddion natur wedi eu casglu
I'th eang fynwes, ac yn ymgymysgu!
Tlysineb fel angyles ieuanc, wisgi,
Yn ysgafn rodio ar dy donau heli,
Ac yntau, y Mawreddog, megys angel,
A'i symudiadau'n ail i eiddo Uriel
Ar fryniau'r nef, yn nesu ati'n barchus,
Fel nesa mab at ei gariadferch weddus,
Tlysineb, hithau megys bun ddichlynaidd,
Yn gwrido, gwenu, syllu arno'n wylaidd,
Yn per ymollwng idd ei freichiau'n dawel,
Ac yna hyfryd deithio'r llanw uchel!

Mor dawel, ufudd ydwyt, ar adegau,
Dy fwynion donau'n ofni clwyfo'r creigiau;
Yn dystaw sisial, fel pe'n ofni deffro
Y dymestl falch sydd ar dy donau'n huno!
Ac eto, mae'r Aruchel a'r Ofnadwy
Fel dau angel-gawr draws dy donau'n tramwy;
Mae'r Tlws, y Pell, yr Agos a'r Anferthol
I'w heglur ddarllen ar dy wyneb uthrol!

Rhyfeddol for! ffynonell bywyd anian,
Tydi'n haelionus ddisycheda'r cyfan;
Ti biau gwlith y wawr, y gwlaw a'r nentydd,
Y llynoedd oll, ffynonau ac afonydd;
Mae'r oll yn deilliaw o dy fynwes lydan,
Fel deillia'r gwres o fynwes glaer yr huan.

Tydi sy'n puro yr awyrgylch brydferth,
A difa ei holl wenwyn yn ddidrafferth;
Mor iach a bywiol yw yr awel dyner,
Pan yn ymadael â dy donau syber,
Er crwydro'r cyfandiroedd; ond yn fuan
Dychwela eilchwyl atat ti dan gwynfan
Dan faich trwmlwythog o afiechyd atgas,
I'w olchi ymaith yn dy ddyfroedd gwyrddlas;
Ac fel angyles wedi glan ymolchi,
Eheda ffwrdd mewn adnewyddol ffresni!

Byth-donog for! hanfodol yw'th wasanaeth
Dirwgnach, hael, i'r byd a rhydd-fasnachaeth;
Mordwya'th lwythog longau'n ddyfal, ddiball,
O un cyfandir i gyfandir arall;
A chludant ganddynt, heblaw nwyddau drudion,
Wybodaeth uchel, moesau ac arferion;
A thra phriodol yw yr hwyliau gwynion,
Sydd fel adenydd engyl uwch yr eigion;
Oherwydd dygant y newyddion hyfryd
Am dangnef Crist o gwmpas y daearfyd!

Yn mhlith y llongau holltent frigau'r tonau
Drwy nerth yr ager grymus a'r teg hwyliau,
Fel duwies gynt canfyddid yr Atlantic,
Fordwyai rhwng Llynlleifiad ac Americ.

Llong fuan ydoedd, gadarn, uchelfrydig,
Yn deilwng iawn o'i henw hardd, mawreddig;

A llawer gwaith yr hwyliodd yr Atlantic
Dros yr Atlantic hwnt i dir Americ.
Mawr oedd ei chlod, ymledai fel y gwyntoedd
O wlad i wlad, i bedwar pwynt y nefoedd!
Ac ar y don mae weithian yn aflonydd
Am gychwyn idd ei gyrfa i'r Byd Newydd.
Ystormus yw y tywydd, Mawrth deyrnasa,
Llynlleifiad wisgwyd â gwen fantell eira;
Y gwynt yn oer a miniog ac ysgubol,
A'r tonau'n rhuo dan ei fflengyll nerthol!
Ac ar y lan, yn syllu yn orgraffus
Draw i'r Atlantic, mae y dorf niferus.
Ymfudwyr ydynt, tebyg eu teimladau
I'r mor pan yrr ystormydd dros eu donau!
Pob calon braidd fel taran yn y cwmwl
Ddirgryna'n ddirfawr gan gyfyngder meddwl!
Mae'r fam a'r ferch yn ysgwyd llaw'n hiraethus,
Yn methu arfer iaith—cyffyrddiad gwefus
A dagrau heillt yn unig fedrant siarad
Yr adeg hon—hwynt-hwy yw iaith y teimlad!
Ysmotyn dwys ymadael a chyfeillion,
Ysmotyn prudd—ysmotyn clwyfo calon,
Ysmotyn wylo'r dagrau—man ymraniad
Dwy galon wnaed yn un gan serch a chariad;
Ysmotyn du fel glan yr afon farwol
Yw'r porthladd mawr tra'n llwytho'r llong ymfudol.

Yn iach i dref Llynlleifiad—codwyd angor,
Mordwya yr Atlantic i'r uchelfor!
Esgyna yn urddasol dros y tonau
Fel rhyw ysbrydol long mewn cyflawn hwyliau!
A'r porthladd draw yn bloeddio yn frwdfrydig—
"Boed iddi hwylus daith i dir Amerig."
A llawer gweddi ddystaw, chwim ei haden,
O lawer calon brudd aeth yn ei helfen
Yn wylaidd iawn i fyny i'r nefol-wlad,
A'i haden wen yn wlyb gan ddagrau teimlad,
I daerol erfyn ar i'r mor dosturio
Ac arbed yr Atlantic nes ei glanio
I borthladd y byd arall—y Byd Newydd—
Americ fawr, arglwyddes wemp y gwledydd!
Ac ar y bwrdd yn rhodio megys angel,
Yn brudd ac unig, y mae Hiraeth isel;
Ei rudd yn wyw, ei fron yn archolledig,
Yn cwynfan o dan faich o ofid ysig.
Serch rhai yn hedeg fel aderyn unig
Dros wyrddion fryniau'r ynys deg Brydeinig;
Serch eraill wedi llamu dros y Werydd,
Yn crwydro'n rhydd dros froydd y Byd Newydd;
Ond pawb yn llawn o hiraeth—pob rhyw deimlad
A lyncwyd ganddo ar y bwrdd mewn eiliad!
Meddylia'r teithwyr fod yr awel suol
Yn sisial "Hiraeth" wrth yr hwyliau lleddfol,
Ac fod y tonau mawrion yn dwys-ruo
"Hiraeth," "Hiraeth," wrth ddylifo heibio;

A chredent weithiau eu bod yn ei weled
Yn rhodio'r don yn athrist iawn ei dynged!

Ond un awenydd ieuanc, teg ei berson,
A barai i'r craff i sylwi arno'n union;
Ei dalcen uchel, ei ddau lygad bywiog,
Ei wyneb hardd, ei wallt melynwawr, cyrliog,
A'i ystum boneddigaidd, oeddynt brofion
Ei fod yn meddu ar dalentau cryfion.
Mor boenus oedd ei glefyd—trymach filwaith
Na chlefyd trwm y mor a'i boenau diffaith,
Y clefyd hwnw sydd yn gwywo'r gruddiau,
Yn tori'r galon, yn pruddhau'r teimladau,
Yn nychu'r ysbryd, yn byrhau yr einioes,
Oedd clefyd tost y pêr awenydd eurfoes!
Claf oedd o serch, yn glaf o gariad cywir,
Yn glaf o eisieu cusan mel ei feinir.
Ymadael wnaeth a'r eneth bur, serchogfad,
Oedd wedi denu'n drylawr ei holl gariad;
Ac ar un hwyrnos, wele'r odlau melus
Dilynol yn llifeirio dros ei wefus:

Teg yw'r blodau sydd yn tyfu
Yn y wlad y ce's fy magu,
Ond nid oes flodeuyn yno
I mi mor deg a'r eneth hono!

Enw anwyl i fy nghalon
Sydd ar lan y Conwy dirion,

Canys mae fy nghalon yno
Beuydd gyda'r eneth hono.

O! mi garwn rodio'r caeau
Lle bum gynt yn arfer chwarau,
Heb fod neb yn agos yno
Ond myfi a'r eneth hono.

Rhodio'n llon ac hyfryd allan,
Gwasgu llaw a chydymddyddan,
Ceisio denu 'n swynol yno
Gusan mwyn yr eneth hono.

Mi fum gynt mor ffol a chredu
Mai peth gwamal iawn oedd serchu,
Ond cyfnewid wnaeth fy nghredo
Ger bron gwên yr eneth hono.

Do, mi fum yn mawr ryfeddu
Fod un llanc i fun yn plygu,
Ond mi blygwn inau heno
Ger bron gwên yr eneth hono.

Y mae llawer geneth serchus
Wedi myned yn anghofus,
Ond 'roedd rhywbeth nad ä'n angho'
Yn ngwên fwyn yr eneth hono.

Cefais lawer iawn o wenau,
A chaf lawer eto'n ddiau,

Ond ni welaf hyd fy amdo
Wên fel gwên yr eneth hono.

Gadael wnes fy serch yn Nghymru,
Yn y wlad y ce's fy magu,
Megys angel pur i wylio
Berson hardd yr eneth hono.

O! fy Nuw, bydd imi'n noddfa,
Tra bwy'n crwydro'n mhell o Walia,
Gad i mi gael cwrddyd eto
Cyn bo hir â'r eneth hono.

Mae ambell angel-ddyn i'w ganfod weithiau
Ar fwrdd ymfudol long yn mhlith y llwythau,
Ond prinion ydynt megys ymweliadau
Athrylith bur i blith yr aur-balasau.
O! dacw yr Atlantic, dacw hi'n morio,
A rhagorolion ar ei bwrdd yn teithio;
Ond anghredinwyr yw y lluosocaf
A gluda hi, yn ei hysgafnder hurtaf!
Ychydig a feddylient fod eu gwyneb
Mor agos i gyfandir trag'wyddoldeb.
Cyfandir mawr Americ—glanio yno
Fwriada'r dorf, yn drwyadl iach a chryno;
Ond O! cyn cyraedd y cyfandir hwnw,
Fe yrir canoedd trwy y don a'i berw
I draeth cyfandir mwy—cyfandir bythol,
Dilan, didranc y tragwyddoldeb uthrol!

Goddefer i ni ysgafnhau ein teimlad,
Drwy glirio'n Duw o'r fath erchyllwaith anfad
A dryllio yr Atlantic—Duw yn boddi
Y drwg a'r da yn merw gwyllt y weilgi!
Rhy dyner ydyw'n Tad, rhy fawr ei gariad
I hyrddio'r mamau oll a'r plant anwylfad
I eigion mor, a'u hyrddio gyda'u gilydd
Braidd yn eu cwsg i draethau y tragywydd!
Nis gallwn lai na chaled senu'r doethion
Gyfrifant hyn i Dduw a'i ddoeth ddybenion;
Gwnaeth ef ei ran i'w harbed--darfu ddarpar
Cyflawnder mawr o lo yn eigion daear,
Yn eigion Prydain—gwlad y mwnau eirian,
O'r hon yr hwyliodd yr Atlantic allan.
Mae Duw yn gwneyd ei ran—dyn, dyn sy'n methu,
Neu'n esgeuluso gwneyd yr hyn mae'n fedru!
Mae'n tori deddfau, ac mae'r gosb yn canlyn,
Fel cawod drom ar ol i'r gwefr follt ddisgyn;
Nid annuwioldeb—nid y teithwyr anfad,
Gan hyny, fu yn achos o'r llongddrylliad;
Ond ESGEULUSDOD DYN—y pechod parod
Y syrthia iddo fel yn ddiarwybod!

Pur arw fu y fordaith er y cychwyn,
Ond bythol glir o'i chyferbynu a'i therfyn!
Y tonau yn dra gerwin, gwyntoedd cryfion,
Tymestlog Mawrth a gynddeiriogai'r eigion.
Crochruai'r eigion fel pe yn ddigofus,

A llidiog aruthr wrth y gwynt ystormus;
A'r cymyl duon drwy y nen yn hedfan
Fel prudd genadon distryw, yn darogan
Fod difrod mawr gerllaw—y difrod hwnw
A fydd mewn cof tra byddo trai a llanw!

Hiraetha y teithwyr am weled y tir
  Tu hwnt i'r du gefnfor yn codi,
Yn codi i'r golwg yn wyrdd ac yn glir
  Fel ynys yn nghanol goleuni!
Er mor ogoneddus ac uchel yw'r don,
  Nid llon ganddynt hwy yw ei nofio,
O! na, y mae hiraeth am dir yn eu bron,
  Fel y mor sydd o'u cylch yn dylifo!

Teg yw eu cynlluniau, mor deg ag yw'r wawr,
  Pan wena ar ruddiau y borau,
Mor deg ag yw gwyneb y mor llydan, mawr,
  Pan ddawnsia y tes ar ei donau;
Ond pruddaidd yw bywyd, mae'r ddyrnod gerllaw,
  Y ddyrnod angeuol ac erchyll;
Mae angeu yn chwifio ei faner ddu draw,
  Gan grwydro y tonau fel ellyll!

Daeth hwyrddydd olaf yr Atlantic nerthol
I hwylio dros y cefnfor tywysogol;
Mae llu o'r teithwyr ar y bwrdd yn syllu
Ar frenin mawr y dydd yn araf gefnu

O'r gwgus nen ; ac ni anturia'r lleuad
I esgyn fel ei harfer at ei galwad,
A gwthio allan drwy y cymyl duon
I glaer arianu gwyneb garw'r eigion.
O! na, mae'r ser a'r lleuad gyda'u gilydd
Tu hwnt i'r cymyl yn eu broydd llonydd,
Fel pe'n arswydo syllu ar y terfyn
A ddeuai i'r Atlantic hardd mor sydyn!
Cynyrfus eto yw y mor tymestlog,
Gerwindeb ar ei gesyg dig yn marchog ;
Mae'r tonau uthrol yn ymgodi'n ddidor,
Gan symud megys Alpau dros y cefnfor.
Ton ar ol ton fel Alp ar Alp yn codi,
Gan hyrddio'u gilydd dros yr eigion heli,
Fel pe yn bygwth cynddeiriogi'n enbyd,
A llyncu'r llongau oll i'r dyfnder oerllyd!
Yn araf, for ! paid, paid a chynddeiriogi,
A dofa ymchwydd gwyllt dy donau oergri!
Sisiala'n ddystaw, paid a rhuo'n frochus,
A hyrddio'th fryniau trymion mor ystormus
Ar draws y deg Atlantic—nid oes angen
I ti arddangos anian ddrwg dy elfen !
O! na, gostega, paid a ffromi'n llidiog,
Gorphwysa'n ddiddig ar dy dywod eurog!
A chwithau, wyntoedd, ymdawelwch weithian,
Ewch i'ch llochesau yn ogofau anian,
Trowch yn eich gwrthol—gyrwch eich cerbydau
Yn ufudd esmwyth i ogofau'r creigiau!

O! nid oes angen i fflangellu'r eigion,
Na chreu ystorom i gael difrod weithion;
Mae yr Atlantic yn prysuro'n union,
Fel pe o'i bodd, i guro 'i hun yn deilchion!
Byddar yw y gwynt a'r cefnfor garw,
Mae'r gwynt yn gryf a chuchiog yw'r ymferw!
Fy awen, dos yn friw dy fron i rodio
Y llanw mawr symudol—dos dan wylo!
Er clwyfo'r galon ac er dryllio'r teimlad,
Canlyna yr Atlantic idd ei drylliad!
Mae'r teithwyr oll yn cysgu fel arferol,
Yn esmwyth, fel esmwythyd torf ymfudol;
Yn huno'n dawel, yn breuddwydio'n felus
Am wledydd breision—broydd heirdd rhamantus;
Yn byr ymweled yn eu haur-freuddwydion
A'u cartref hoff, trigfanle serch eu calon!

Yn huno'n dawel, fwyn, a'r ergyd marwol
Ar daraw'r canoedd draw i'r byd tragwyddol!
O! anffawd dost! gwel, gwel y baban tyner
Ar fron ei fam yn huno mewn addfwynder,
Y tlws anwylaf—nid oes eto wythnos
Er pan i blith y teithwyr daeth i aros;
Y fam yn eiddil, ond ei chariad gwresog
A bletha o gylch ei thirion faban tlysog!
A buan bydd a'i baban yn ei breichiau
Yn orchuddiedig yn eigionau'r tonau!
Ond dedwydd yw y baban, fe ddaw angel

I'w gyrchu ef o'r don i'r Wynfa uchel.
Beth am y fam? A yw ei hysbryd cynes
Mor bur ag eiddo baban hoff ei mynwes?
O! fe allai y bydd rhaid cymeryd
O freichiau 'i serch ei baban anwyl glanbryd,
A'i gadael hithau! A fydd raid eu hysgar
Am dragwyddoldeb yn y berw anwar?
O! dedwydd yw y baban pan feddylir
Am lawer o eneidiau weithian hyrddir,
Ysywaeth, yn anmharod at eu Barnydd,
Ac nad oes dim o'u blaen ond gwae tragywydd!
Mae'r syniad hwn yn toddi'r galon gareg,
Yn dofi'r gwyntoedd, braidd yn rhewi'r waneg,
Yn taraw'r meddwl mwyaf oer a chysglyd
A myfyrdodau dwys am arall fywyd,
Ac yn creu hiraeth yn yr awen effro
Na b'ai y Werydd yn ei phen yn nofio,
Fel gallai wylo—wylo'i dagrau heilltion
Yn donau am yr anffawd dost, echryslon!.
Prin yw y glo—rhy brin i gynal ager
Er gyru yr Atlantic yn ei gwychder
I ben ei thaith—i borthladd Efrog Newydd,
Angorfa cydgynulliad llongau'r gwledydd.

Prin yw y glo! O, dyma'r rheswm egwan
A roddwyd dros ddygwyddiad y gyflafan;
Yn nghysgod hwn bu'r cadben yn ymguddio
Tra bu'r dialydd am ei waed yn chwilio!

Brys hwylio i mewn i Halifax yw'r amcan
Er llwytho'r llong o lo, ac yna allan
Yn frysiog eilwaith—hwylio yn ysblenydd
Yn wych yn mlaen i borthladd Efrog Newydd.

Mae'n haner nos! Y Cadben Williams weithion
Ar y ddysgwylfa'n graffus ei olygon,
A "Sambro Light" fel seren yn y pellder
Yw'r unig lewyrch wela drwy'r eangder;
Mor siriol yw a llygad gobaith eurog,
Yn glir a thlws ar fron y nef gymylog!
Mor ddu yw'r nen—mor ddu a bro marwolaeth,
A rhuad dwfn y mor yn llawn o alaeth.

Mae'r cadben yn neillduo i'w orphwysfa,
Ac arall un esgyna i'r ddysgwylfa!
Ond yn dra sydyn, megys planed fuan,
Drwy'r claer eangder uchel yn chwim hedfan,
Ac ar amrantiad llygad yn gwrthdaraw
Yn erbyn planed arall, gan chwilfriwiaw
Ei hun yn deilchion, felly mae'r Atlantig
Yn morio mewn cyflymder gwir fawreddig
Yn erbyn uthrol graig! O! dyna hi'n taraw,
A'r tonau am y cyntaf iddi 'n llifaw!
Yn taraw amryw weithiau, a phob ergyd
Yn gollwng angeu i mewn i'w cheudod enbyd!
Pob ergyd trwm yn hyrddio yr eneidiau
Drwy'r llanw uchel i'r bytholfyd golau!

O! clywch eu bloedd! mae'n boddi twrw'r tonau!
Angeuol floedd! bloedd ofnadwyaeth angau!
Bloedd oer yn llawn o arswyd—bloedd ddiwedda'
Eneidiau lu ar draeth y bywyd yma!
Dychrynol floedd! yn ddigon braidd i beri
I'r mor i ffoi o'r lan a'r creigiau i hollti!
Bloedd torf yn suddo, bloedd o'r tonau marwol
Yn treiddio i bellderoedd y tragwyddol!
Mae'r llong anffodus yn yr eigion heli,
A'r don wallgofus yn dylifo drosti,
A chanoedd ar y bwrdd yn ceisio crogi
Uwchlaw y llanw a'i angeuol gyni,
Yn ymlochesu yn yr hwyliau drylliog,
Ond Angau sydd ar frig pob ton yn marchog!
Yn cipio ymaith yn ei law anferthol
Bob tro eneidiau rai i'r byd tragwyddol!
Pob un yn gwaeddi am ei einioes weithion,
A'r wasgfa drom yn tori llawer calon.
Olygfa brudd! ton ar ol ton mor ddidor
Yn cludo'r naill ar ol y llall i'r cefnfor.
Y badau wedi eu colli—un bywydfab
Yn unig roddwyd ar y tonau anfad,
Ond suddodd hwnw, fel pe b'ai yn enw
Cael suddo yn nghymdeithas llong mor hoew.
Er hyn mae llawer trwy eu dyfais wrol
Yn cyraedd draw i'r creigiau yn waredol;
Y cryfion wyr, a'r llanciau bywiog hoenus,
Yn cyraedd tir er gwaetha'r don ystormus!

Cylymu rhaff wrth graig, ac yna drosti
Yn dianc am y cyntaf hwnt o'r cyni.
Ond prudd fu anffawd y menywod tyner,
Boddasant yn ddieithriad yn y dyfnder;
A llawer priod ffyddlawn, pan allasai
Waredu ei hun, yn ufudd iawn eisteddai
Yn ymyl ei hoff briod—gwell oedd boddi
Yn nghwmni gwraig ei serch, na dianc hebddi.
Y tad a'r fam dan wgus donau'r eigion,
A'r mab ar frig y graig yn friw ei galon!
A llawer gwraig adawyd gan ei phriod
I suddo'n unig i'r angeuol waelod!
Ac ni ddiangodd ond un bachgen bychan
O blith holl blant y bwrdd; efe ei hunan
A neidiodd ymaith fel o grafanc angau,
A thros y rhaff yn wyllt yr aeth i'r creigiau.

Pa beth a fydd y bachgen wyth mlwydd oed
Waredwyd o'r cyfyngder dyfna' erioed?
Rhagluniaeth fel yn cydio yn ei law,
A'i gludo ef yn iach i'r creigiau draw;
Ei deulu wedi boddi—yntau ei hunan
Yn cael y graig fel pe yn medru hedfan!
Ei gipio o'r cyfyngder tostaf fu
Medd hanesyddiaeth, ar y dyfnfor du!
Ai tybed fod gan Dduw ryw orchwyl mawr
I'w wneuthur drwy y bachgen hwn ryw awr?
Oes ganddo genadwri i'w chyhoeddi,
Neu rywbeth cudd i'w daflu i'r goleuni?

Mae digon braidd o ddagrau wedi eu wylo
Am dynged yr Atlantic idd ei nofio!
A thra bo ton yn curo creigiau'r cread
Bydd "Meagher's Rock" mewn cof fel man ei
    drylliad!
O! adeilader ar y graig enbydus
Yn frysiog iawn oleudy mawr, llewyrchus,
I fod yn rhybudd i holl longau'r weilgi
I gadw draw, a hwylio heibio iddi!
I bruddaidd goffa uwch y llanw ffyrnig
I oesau'r byd am ddrylliad yr Atlantig!

---

## *TRUGAREDD.*

[Y cyfansoddiad buddugol yn Eisteddfod Utica, Calan, 1877.]

CANIAD I.—Trugaredd Dyn—Dymuniad am ysbryd cydnaws i ymwneyd a'r testyn—Darnodiad o drugaredd—Ei gwen yn taflu llewyrch ar dywyllwch bywyd—Ei phrinder—Ei hamrywiol ddulliau o weithredu—Cipdrem arni fel pendefiges uchelaf y natur ddynol—Goruwch dialedd a chenfigen—Goruwch tosturi ac haelfrydedd—Y mae yn farwolaeth i ddialedd a chenfigen—Ei gorsedd yw cariad—Amlyga ei hunan er gwaethaf pob rhwystrau—Crea adfywiad yn ein teimladau goreu—Dymuniad am iddi deyrnasu yn gyffredinol—"Gwyn eu byd y rhai trugarogion."

O! am feddwl tyner hyfryd,
Megys eiddo seraff tanllyd,
Meddwl gorlawn o hynawsedd
I farddoni i Drugaredd!

O! mor dyner yw y testyn,
Tyner megys calon plentyn,
Tyner fel y nefoedd lonwedd—
Megys calon frwd Trugaredd!

Caled, caled yw fy ysbryd,
Caled megys creigiau celyd;
Felly 'r wyf yn gwylaidd erfyn
Am gael help Trugaredd ddillyn!

Ydwyt, O! Drugaredd dyner,
Wedi cynorthwyo llawer
O eiddilod gwael cyn heno,
Cynorthwya eiddil eto!

Todda'm calon, tania'm meddwl,
Fel â gwefr dwyfol gwmwl;
Tyn y llen, a gad im' ganfod
Holl ogoniant pur dy hanfod!

Dyro gymorth i mi weithian
I ddarlunio'th uchel anian,
Ac i olrhain dy dirioni
Pan yn gwasgar rhoddion ini!

Dyro, Awen, fyr ddarnodiad
O Drugaredd mewn cysylltiad
A dynolryw, 'n annibynol
Ar Drugaredd yr Anfeidrol.

Nid hynawsedd, nid haelfrydedd,
Nid tiriondeb yw Trugaredd ;
Y mae'n uwch na'n holl nodweddion,
Serchant yn ein cu gyfeillion.

Y mae dyn i'w gyfaill cydnaws
Weithiau'n hael ac weithiau'n hynaws,
Weithiau'n fwyn ac weithiau'n dyner,
Ond ei *gyfaill* ydyw, cofier!

Y mae cyfaill pur yn hawlio
Pobpeth ellir roddi iddo,
Ac nis gallwn, doed a ddelo,
Estyn llaw Trugaredd iddo !

Rhaid i gyfaill ffyddlawn bechu
Yn ein herbyn nes teilyngu
Ein digofaint—ninau'n estyn
Ein haelfrydedd iddo wed'yn,
Mae haelfrydedd felly'n dyfod
Yn Drugaredd bur mewn hanfod!

Y mae'n cynwys caru gelyn,
  Edrych heibio annheilyngdod,
Mae trugaredd hoff yn derbyn
  Gelyn euog yn ei bechod !

Felly gwelir fod Trugaredd
Yn rhagori ar haelfrydedd,

Ac yn taflu holl nodweddion
Goreu'n natur i'r cysgodion !

O rasusau'r natur ddynol,
Hi yw'r fwynaf a'r uchelaf,
Mae'n gyfranog braidd o'r dwyfol—
Uchel nodwedd y Goruchaf!

Ai dwyfoldeb yn y dynol
Ydwyt, O ! Drugaredd rasol,
Megys ffrwd a lifodd allan
O drugaredd Ior ei hunan ?

Ydwyt megys ter angyles,
Ddaeth o'r nef a chalon gynes,
Byth i leddfu dirfawr loesion,
A chysuro meibion dynion!

Mor resynus fyddai'n tynged
Hebot ti mewn byd mor galed ;
Ond y mae dy wên yn taflu
Claer oleuni gwyn o'n deutu.

Seren wen ar ael y cwmwl,
Gwên o'r nef yn lloni'r meddwl,
Haul yn difa'r nos dywyllaf,
Ydwyt ti, Drugaredd fwynaf!

Lili dlos mewn garw anial
Yn blodeuo mewn gogonedd,

Yn y sychdir, ffynon risial,
  Ydwyt ti, O! rad Drugaredd!

Digon braidd i glwyfo'r galon,
Ac i dywallt dagrau heilltion,
Yw ystyried fod dynolryw
Yn amddifad iawn o'r cyfryw!

P'le mae'r galon dyner heno,
Nad yw wedi gorfod teimlo
Fod dynolryw'n dra amddifad
O Drugaredd fwyn a chariad?

Ond nid yw Trugaredd siriol
Wedi'n gadael eto'n hollol,
Ac yn awr ni geisiwn syllu
Ar ei *dulliau* yn gweithredu.

Yn y tad a'r fam dirionaf
Mae'n ymddangos yn fynychaf,
Canys mae fel yn meistroli
Holl deimladau ein rhieni!

Gwel y mab afradlon acw
Wariodd gyfoeth ei fam weddw,
Yn dynesu ati eto,
Hithau yn *drugarog* wrtho!

Gwel y meddwyn anystyriol,
  Glwyfodd galon ei rieni,

Yn cael croesaw calonogol
  Ganddynt eto mewn tosturi!

Gwel yr eneth ieuanc, benrydd,
I'w rhieni fu'n anufydd,
Yn dynesu at ei chartref,
Hithau'n caffael gwenau tangnef!

Y mae llawer dynes dirion
Ddyoddefodd driniaeth greulon,
Hyd yn nod ar law ei chydmar,
Wedi estyn iddo'n hawddgar
O gyflawnder serch ei chalon,
Dyner law Trugaredd dirion!

O! pa galon sydd mor orlawn
Beunydd o Drugaredd raslawn,
Hyd yn nod at bob afradlon
Ag yw calon menyw dirion?

Ond y mae Trugaredd weithiau
Yn teyrnasu yn serchiadau
Y gwroniaid tra rhyfelgar
Sydd yn arswyd drwy'r holl ddaear!
O! mor brydferth yw ei swynion
Pan yn toddi calon gwron,
Ac yn archu iddo estyn
Ei drugarog law i'w elyn!

Y mae calon galed brenin
Megys eiddo y cyffredin,

Weithiau iddi hi yn orsedd,
Weithiau'n ufudd i Drugaredd!

Rhwymo'r galon archolledig,
Tywallt balm i glwyfau'r aflan,
Troi y ddaear ddirywiedig
Eto'n Eden yw ei hamcan!

Gad imi syllu arnat, O! Drugaredd,
Yn awr fel banon yn yr arucheledd,
Goruwch holl nwydau isel y ddynoliaeth—
Goruwch digofaint, a goruwch gelyniaeth—
Goruwch dialedd a chenfigen atgas,
Goruwch pob nodwedd ddynol, greulawn, ddíras!
Goruwch tosturi a goruwch haelfrydedd—
Yn deg arglwyddes ar bob dynol nodwedd!
Mae'r holl rasusau eraill i ti'n ufydd
I wneuthur dy ewyllys raslawn beunydd!
Eisteddi ar dy orsedd wen ddysgleiriol,
Yn uchaf oll ar ambell galon ddynol!
Ac fel mae'r mynydd uchel yn dyrchafu
Ei orwych ben goruwch y storm sy'n casglu,
Ac ar ei ben yn gorphwys hafaidd hinon,
Tra'r storm yn tori ger ei draed yn deilchion!
Tawelwch nefol ar ei fan yn huno,
A'r daran frochus wrth ei draed yn rhuo!
Efelly'r ydwyt, O! Drugaredd dirion,
Yn dyrchu'n uwch na nwydau gwael y galon!
Mae nwydau'r galon greulawn fel taranau

Yn rhuo yn drag'wyddol wrth dy odrau,
A tithau'n dyrchu i'r uchelder purlan,
I decaf nen y claer difachlud huan!
Ac nid oes cwmwl byth yn duo'th anian,
Mae'th nen yn glir fel nen y nefoedd eirian!
Nid yw dialedd, er mor nerthol ydyw,
Byth yn symud drwy dy fron ddigyfryw!
Nid yw cenfigen—er fod llawer mynwes
Yn rhoddi i'r ellylles noddfa gynes—
Yn cyffwrdd â dy anian; mae dy natur
Fel darn o'r nef yn anmhur fron pechadur!
Digymysg gariad yw dy orsedd gadarn,
A chadarn fydd pan elo'r byd yn wasarn!
Ond eto mae'th elynion am dy rwystro
Drwy lawer calon wrol iawn i weithio;
Mae nwydau pechadurus y ddynoliaeth
I ti, Drugaredd swynol, yn elyniaeth!
Ond tost fu tynged llawer beiddgar elyn,
A feiddiodd godi llaw erioed i'th erbyn!
Mae'th wenau i elyniaeth erch yn angau,
Yn fywyd newydd i'n teimladau gorau!
Dos yn dy flaen, O! rad Drugaredd siriol,
A chymer feddiant o bob calon ddynol!
A gwyn ei byd y galon frwd drugarog,
Oblegid eiddo hon yw Gwynfa eurog.

## CANIAD II.

Trugaredd Duw—Astudio elfenau rhinweddol ein natur foesol—Gosod y cyfryw at eu gilydd yw ein dull i ddeall y moesol yn yr *unig berffaith natur*—Y da sydd yn derfynol ynom, yn Nuw yn annherfynol--Trugaredd yn ffynonellu yn Nuw—Ac os yw mor rhagorol yn y natur ddynol, beth yw ei ogoniant yn y natur Ddwyfol?—Y mae uwchlaw darnodiad *cyflawn*, ac uwchlaw *amgyffrediad* meidrolion—Pob priodoledd yn berffaith yn Nuw—Ond Trugaredd yw yr anwylaf i bechadur--Cariad yn ei amlygiadau uchelaf yw—Cri pechadur a'i galwodd i weithrediad gyntaf—Bu yn ddystaw pan syrthiodd yr angylion—Eiriolodd ar ran pechadur--Trugaredd yn eiriol—Cyfiawnder yn hawlio cospi, ac yn dadleu dros anrhydedd y gyfraith—Doethineb yn hysbysu bwriad cyngor y Drindod i drefnu ffordd i arbed pechadur—Y Gair, yr Ail Berson yn y Drindod, yn addaw rhoddi *iawn* ar ran y pechadur—Cyfiawnder a Thrugaredd yn ymgymodi yn y Gwaredydd—Trugaredd drwy aberth Crist yn dyfod o'r nef i'r ddaear—Ei ehelaethrwydd, megys mor heb derfynau iddo—Cwmwl Trugaredd yn codi o for addewid gyntaf Eden—Yn nofio uwch y cynfyd—Yr oes batriarchaidd—Heibio Moses a'r proffwydi, gan ddyferu ambell fendith—Yr Iesu wrth esgyn o'r ddaear i'r nefoedd yn myned heibio y cwmwl, yr hwn ydoedd ar dori, ac yn ysgafn sangu arno, ac mewn canlyniad llifodd Trugaredd megys môr dros yr holl ddaear—Y gwaredion yn canu am dani—Y diweddglo.

Troi i fewn i'n natur foesol,
Pigo allan y rhinweddol,
Rhoi'r elfenau at eu gilydd
Yw ein dull i ddeall Dofydd.

Cyfyngedig iawn a meidrol
Yw rhinweddau'r natur ddynol,

Ond mae'r da sydd yn derfynol
Ynom ni, yn Nuw'n drag'wyddol!

Rhywbeth daflodd Anfeidroledd
Idd ein natur yw Trugaredd,
Fel y gallem ymresymu
Fod Trugaredd ynddo'n tarddu!

Ac os ydyw mor adderchog
Yn y gwael bechadur halog,
Pa beth ydyw yn y dwyfol—
Yn yr hanfod bur drag'wyddol?

Byth ni ro'ir darnodiad cyflawn
O'r fath rinwedd nefol graslawn,
Canys mae yr hanfod ddwyfol
Uwchlaw amgyffrediad dynol!

Hawdd yw dweyd mai priodoledd
Yn y dwyfol yw Trugaredd,
Ond mae dangos ei dysgleirdeb
Uwchlaw gallu gwan meidroldeb!

Hawddach fyddai pwyso'r huan,
Dal y gomed wyllt ar hedfan,
Gosod llanw mawr y cefnfor
Megys llong yn rhwym wrth angor;
Dangos urddas holl gerubiaid,
Ac angylion nefoedd danbaid,

Nag yw gosod allan fawredd
A gogoniant rhad Drugaredd!

Perffaith yw pob priodoledd
  Yn yr *unig berffaith natur;*
Ond mae rhywbeth mewn Trugaredd
  Sy'n anwylach i bechadur!

Amlygiadau godidocaf
Yw o gariad y Goruchaf;
Cariad yn ei bwynt uchela',
Yw Trugaredd y Iehofa!

Cariad wedi neidio allan
Fel o gariad Ior ei hunan,
Ac yn nesu at ei orsedd,
Megys teg angyles lanwedd,
Ac yn wylo'r dagrau heli
Dros bechadur yn ei gyni,
Yw Trugaredd yr Anfeidrol
Oddiar ein safle ddynol!

O! mae megys dwyfol lili
Dyfodd allan o dirioni,
Ac anfeidrol serch y Duwdod,
Pan syrthiasom ni drwy bechod!

Priodoledd yw fu'n hepian
  Fel yn nyfnder dwyfol gariad,
Nes daeth cri pechadur aflan
  Idd ei galw i ddeffroad!

Mi a'i gwelaf yn ddigyffro
  Pan oedd engyl hena'r Duwdod
Megys ser y boreu'n syrthio
  I ddyfnderau uffern isod!

Ond pan syrthiodd dyn drwy bechod,
  Mi a'i gwelaf hi yn sefyll
Ger yr orsedd glaerwen uchod
  Rhyngddo ef a'i dynged erchyll!
Mi a'i clywaf yno'n dadleu
  Am ei achub rhag marwolaeth,
Am gael cyfiawn ffordd i faddeu
  Pechod dirfawr y ddynoliaeth!
Yno'n dadleu yn erfyniol
  Fod ei haul yn bythol fachlud
Os na chawsai'r cwmwl barnol
  Ei dragwyddol berffaith symud!
Yno'n erfyn ar i'r Duwdod
  Mewn amrantiad ei difodi,
Os na chawsai estyn cymod
  I bechadur mewn trueni!

Ar hyn Cyfiawnder nesai at yr orsedd,
  Uchelaf swyddog y llywodraeth ddwyfol,
A thaflai drem ddidostur ar Drugaredd,
  A'i agwedd yn urddasol a difrifol!
Ac yn ei law ei gleddyf gloew fflamwedd,
  A'i adlewyrchiad yn tanbeidio'r nefoedd,
A thaenodd prudd-der drwy yr oror lonwedd,
  A bu dystawrwydd drwy'r perorol luoedd!

Cerubiaid, engyl deimlent yn bryderus
Am wybod tynged euog ddyn truenus!
A synent wel'd angyles ddyeithr, nefol,
Ger bron yr orsedd ar ei ran yn eiriol,
(Oblegid hyd yn awr dyeithriol ydoedd
Trugaredd i breswylwyr pur y nefoedd,
Cyfiawnder ydoedd yn hynodawl yno,
Er darfu i'r colledig engyl syrthio!
Ond byth er'hyn Trugaredd yw'r amlycaf
O engylesau gwynion y Goruchaf!)
A synent wel'd Cyfiawnder yn arfogi,
Fel pe bai rhwystrau rhyngddo ef a chospi,
Fel pe b'ai gwrthdarawiad rywsut rhyngddo
A'r wyl angyles newydd welent yno,
A bu 'u dysgwyliad iddynt braidd yn boenus
Cyn i'r dirgelwch ddyfod yn wybyddus!

Eisteddai yr Anfeidrol ar ei orsedd,
A gwenai'n siriol ar ei wyl Drugaredd,
A'r Gair edrychai yn wir foddus arni,
A'i gydymdeimlad lifai tuag ati!
Ond buan clywid llais Cyfiawnder dwyfol
Yn tori ger yr orsedd yn daranol!
Yn hawlio cospi y troseddwr euog,
Er cadw'r gyfraith santaidd yn ddihalog!
Ac fod anrhydedd y llywodraeth ddwyfol
Yn galw am ei gospi yn oes oesol,
Yn hawlio idd ei daraw'n annhrugarog,
Fel y tarawyd yr angylion euog!

Trugaredd oedd yn gwrando yn ystyriol,
Ac eto yn parhau i daeriol eiriol,
Yn eiriol drwy anwylo'r euog adyn,
A rhagod dwyfol gleddyf arno i ddisgyn!
Ac er gallasai led awgrymu'n wylaidd
Ei fod yn hawlio ystyriaethau pellach
Nag ydoedd y colledig lu angelaidd,
Oblegid fod ei natur ef yn waelach
Nag eiddo'r angel—ysbryd ydyw angel
Deallol, pur, heb feddu nwydau isel—
Deallol ysbryd *anghyfansawdd*, claerwyn,
Heb natur anifeilaidd iddo'n perthyn;
Ond am y dyn, mae natur hardd yr angel,
A natur yr anifail nwydus, isel,
Yn cwrddyd ynddo—ac heblaw hynyna
Yr angel coll a greodd bechod gynta',
A bu'n offeryn cyfrwys iawn i hudo
Y dyn i bechu drwy ei drwyadl dwyllo!
Gallasai rhad Drugaredd led awgrymu
  Cyffelyb esgusodion dros bechadur,
Ond nid ei harfer hi yw ymresymu,
  Ond trugarhau yn unig yw ei natur!
Eiriolai'n daerol ger yr orsedd ddwyfol
Am ei arbediad ef drwy ras yn hollol!

Ar hyn doethineb a gyhoeddodd allan
Drefn cyngor Duw i lwyr-lanhau yr aflan,
A'r Gair ddywedai: "O! Gyfiawnder dwyfol,
Ti gei yn fuan genyf iawn anfeidrol

Dros euog ddyn, sy'n farw yn ei bechod,
A digon fydd i gyfiawnhau y Duwdod,
Am ganiatau idd ei Drugaredd rasol
I'w ddwyn o'r byd drwy ras i'r wynfa nefol!"
Cyfiawnder wenai, ac estynai allan
Ei law gymodlawn i Drugaredd wiwlan,
Ac ymgofleidient mewn tragwyddol gymod
Yn nwyfol aberth Iesu Grist dros bechod!
Ac engyl a chwareuent ganiad newydd
I'r Mab, i'r Gair, i'r Duwddyn, i'r Gwaredydd!

Drwy farwolaeth ddrud Calfaria
Daeth Trugaredd y Iehofa,
O ucheldir Gwynfa uchod
I randiroedd daear isod!

Megys cefnfor heb derfynau
Heb o'i gwmpas gylch o greigiau,
Heb un trai yn perthyn iddo,
Byth yn llanw, byth yn chwyddo
Ar y traethau uchel, dwyfol,
Mewn cyfandir annherfynol!
Lle mae lluoedd heirdd o engyl
Ar y tonau mwynion, anwyl,
Yn perori cerddi nefol,
Yw Trugaredd yr Anfeidrol!

Megys mor yn gaeth rhwng creigiau
Bu Trugaredd am ganrifoedd,

Methu dianc dros dalgribau
  Uchel greigiau nef y nefoedd!
Ond agorodd ein Gwaredydd
  Ffordd eangfawr iddo lifo,
Ac mae'n ffrydio fel afonydd
  Drwy ein byd yn helaeth heno!

O addewid gyntaf Eden,
  Fel o'r mor mi welaf gwmwl
Rhad Drugaredd ar ei aden
  Yn dyrchafu fry i'r nifwl,
Ac yn hedfan yn drwmlwythog,
  Dyferynau weithiau'n disgyn
Wrth fyn'd heibio ar yr euog—
  Disgyn megys gwlith y gwanwyn!

Mân-gawodydd weithiau'n disgyn
  Ar y cyndyn gynddiluwiaid,
Yna hedfan—cawod wed'yn
  Ar y clodus batriarchiaid!

Ac ar Moses a'r proffwydi,
Ond mae bellach fel ar dori!
Mae'n eangu—chwyddo, chwyddo!
Mor Trugaredd ynddo'n nofio!
Ond mi wela'r Iesu'n dychwel
Ar ei ffordd i'r nefoedd uchel,
Ac yn myned heibio iddaw,
Ac yn ysgafn sangu arnaw,

Mewn canlyniad darfu hollti,
Llifodd mor Trugaredd ini!

O! rad Drugaredd ddwyfol,
  Bydd myrdd yn canu 'n bêr
Am dani yn adlonol,
  Pan ddiffydd haul a ser!
Pan gilia'r bryniau oesol,
  Pan ferwa tonau'r mor,
Fe gana'r dorf waredol
  Am rad Drugaredd Ior!

O! rad Drugaredd rasol,
  Ehedodd hi o'r nef
Ar edyn cariad dwyfol
  I rym y dymestl gref,
I gipio gwael bechadur
  Drwy rinwedd marw'r groes,
O'i wae, o'i ing, o'i ddolur,
  Yn iach uwchlaw pob loes!

O! rad Drugaredd siriol,
  Merch fwynaf cariad Ior,
Ein seren glir foreuol,
  Ein hangor ar y mor!
Ein hunig obaith gloew
  Y deuwn yn ei llaw
I'r lan o'r anial garw
  I Ganaan maes o law!

O! rad drugaredd hyfryd,
  Gad imi gael dy hedd,
Ac arnat bwyso'm bywyd
  O hyn hyd ael fy medd!
A phan y byddai'n troedio
  Dyffrynoedd angeu hy',
O! gad im' arnat bwyso
  Nes cyraedd gwynfyd fry!

---

## *YR EGLWYS.*

[Cydfuddugol yn Eisteddfod y Gorllewin, Nadolig, 1882.]

Y CYNWYSIAD.

I. Yr Eglwys yn ei pherthynas a'r Tad. II. Yr Eglwys yn ei pherthynas a'r Mab. III. Yr Eglwys yn ei pherthynas a'r Ysbryd Glan.

CANIAD I.

Yr Eglwys ydyw meddwl mwyaf Ior,
A tharddodd allan megys dwyfol for,
O ddyfnder ei anfeidrol gariad rhad,
Anwylaf feddwl ei drugaredd fad.

Drychfeddwl mawr o'i eiddo yw y byd,
Y mor a'r tir, a'r wybren ddysglaer bryd,
Yr haul a'r lloer a phob rhyw seren dlos,
Addurnant megys blodau fron y nos ;

A'r oll yn troi o gylch yr huan ter,
Drychfeddwl mawr yw hyn o eiddo Ner.

Drychfeddwl mawr o'i eiddo yw engyl nef,
Gwasanaethyddion ei ewyllys Ef;
Cylch uwchlaw cylch o fywyd mewn mwynhad,
Heb cfni fod diweddnod i'w barhad;
Yr angel hardd a'r seraff craff a gwyl,
A'r claer archangel, oll mewn nefol hwyl
Yn telynori eu clydforus gainc,
Yn rhes uwch rhes o gylch yr orsedd-fainc!

Drychfeddwl mawr o'i eiddo ydyw *dyn*,
Yr ardeb arall o'i Fawrhydi ei hun,
Y cyntaf yw yr angel—pêr ei sain,
Yr ail yw *dyn* mewn gwisg o fater cain.
Mae'n ddelw Duw, er yn y babell hon,
A'i feddwl fel y meddwl dwyfol bron!
Ag un ysgydwad o'i ewyllys rydd
Tywyllodd haul ei ffawd ar doriad dydd!

Drychfeddwl dwfn na fedra meidrol un
Ei blymio byth yw'r ymgnawdoliad cun;
Y Dwyfol Air yn gwasgu ei hun—i b'le?
I amser-gylch—i dy o bridd—i *le!*
Mewn gwisg o gnawd mae Ef yn frawd o fri
I adyn llwm dirinwedd fel myfi!
Mae'n teimlo'r draen, yn gwel'd y lili dlos,
Mae'n hoffi naws dawelwch dwys y nos,

Mae'n wir ofidus wr, a thonau lu
Yn golchi drosto, fel ei frodyr cu;
Mae'n rhodio'n brudd ei fron, fy mrawd yw Ef,
Er fod y gwynt a'r mor yn gwrando'i lef!

Yr ymgnawdoliad anmhlymiadwy yw
Cnewullyn trefn achubiaeth dynol-ryw,
Dadblygiad o'r dygwyddiad rhyfedd hwn
Yw ordrist ing yr ardd a'i thrymfawr bwn,
Yw'r bradwr digywilydd, yw y llys,
Yw'r ysgwyd pen, ac hefyd estyn bys,
Yw'r wisg o borphor, yw y goron ddrain,
Yw poen yr hoelion dur a'r bicell fain,
Yw'r cri, "Fy Nuw! fy Nuw!" mewn angawl loes,
Yw ANGAU IAWNOL bythgofiadwy'r groes,
Yw perarogli'r corff a'i roi mewn bedd,
Ac adgyfodi'r trydydd dydd mewn hedd,
Yw ei esgyniad—ei eiriolaeth fad,
Yn nhecaf o drigfanau "Ty fy Nhad!"
Efe yw'r IAWN dros ein pechodau ni,
O, feddwl mawr meddyliau dyfnion Rhi!

Er cael ei feddwl hoff, yr Eglwys gref,
Cyfryngau y'nt ei holl feddyliau Ef,
Fel grisiau eurog i'w ddoethineb nefol,
I sylweddoli ei ddrychfeddwl grasol!
Fel garddwr doeth yn tynu ei gynlluniau,
Yn nodi'r tir, yn codi ei wrthgloddiau,
Yn planu y planigion, yn achlesu,

Yn trin yr ardd yn ol ei ddysg a'i allu;
Mae'n gosod allan dyrfa o feddyliau
Er cael ei feddwl mawr, sef cnwd o ffrwythau.
Tebygol Ior, tramwyai drwy feddyliau
Mor deg a'r nefoedd at ei feddwl gorau;
Mae swn ei droed mor eglur idd ei glywed
"Yn y dechreuad," pan yn sisial, "Bydded,"
I'w glywed fel yn miwsig ser y borau
Tra'n esgyn fry o'r tryblith idd eu teithiau,
I'w glywed fel yn sangiad cynta'r wawrddydd
Ar fanawg drumau'r ddaear werdd, ysblenydd,
Er hyn, nid haul na ser yw'r cylchoedd cymwys;
Ond *daear* wyl yw'r lle i gasglu'r Eglwys.

Mae edyn engyl ar awelon bywyd
Yn dystaw siffrwd beth yw ei feddylfryd;
Pob angel wrth ehedeg sy'n hysbysu
Mae ei swyddogaeth ydyw gwasanaethu
Ar etifeddion lu yr Eglwys helaeth,
Drwy'r anial mawr nes dod i'r hafaidd dalaeth.

Yr Eglwys, pwy dynodd y rhyfedd bortread?
O, pwy sydd i godi'r dwyf-ddynol adeilad?
Pa le ceir y defnydd mor loew, mor burlan,
Mor loew a sylwedd Caersalem ei hunan?
Oes angel all ateb y dwysaf ofyniad,
Pa le ceir y defnydd i godi'r adeilad?
Mud, mud yw yr angel a'r cerub pereidd-gan,
Mudanrwydd deyrnasa drwy'r cread yn mhobman;

Ond Ah! dyna ateb draw, draw mewn addewid,
Lonydda bob pryder, symuda bob gofid!
Dwys-syned angylion, rhyfedded y bydoedd
At gariad y Duwdod a'i orddyfnderoedd!
*Dyn*, dyn yw y defnydd, dyn euog, llygredig,
Dyn tlawd, anhaeddianol, dyn damniol, colledig!
Hen feini diaddurn y codwm boreuol,
Newidir i feini trwsiadus, orfywiol!

Beth, beth am y Gyfraith? Pwy, pwy all waredu
Yr euog o afael ei ddyled erchyllddu?
O! pwy sydd yn maddeu? Pwy ond y Gofynwr?
Yr Hwn oedd yn gofyn, a ddaeth yn Waredwr!
Yn haeddiant yr Iesu mae'r Gyfraith uchelbur
A Dwyfol Gyfiawnder o blaid y pechadur!
Ger croesbren y Ceidwad canfyddwn fwriadau
Yr Ior yn terfynu yn yr Eglwys fawr olau;
Mae swm ei feddyliau fel pe'n ymgnawdoli
Yn nghorff byw yr Eglwys a'i santaidd oleuni,
Mae daear ac angel, y dyn a'r Eneiniog
Yn tywys y meddwl at Eglwys odidog;
Yr achos yw angeu dirprwyol yr Iesu,
A'r effaith rhyfeddol yw'r Eglwys siriolgu.

CANIAD II.

Hanfod Eglwys! Pa beth ydyw?
Pa beth yw y peth digyfryw?
Cywir ffydd y rhai crediniol
Sydd yn ffurfio'i hanfod ddwyfol.

Mae pob enwad efengylaidd
  Fel cangenau o winwydden
Yr ysbrydol Eglwys santaidd,
  Sydd yn byw mewn byd o angen.

Pe gallesid casglu'r gwenith
  O'n heglwysi oll i'r unman,
Ar wahan i efrau'r felldith,
  Dyna fyddai'r Eglwys burlan.

Fe dywyna dydd yn fuan
  Pan fydd Iesu'n casglu 'i lili
I'w baradwys hardd ei hunan,
  Pan y rhydd yr efrau i'w llosgi!

Na atto Duw i'r eiddil yma
Fod yn addas us i'r danchwa!

Beth yw hanfod? Pwy all 'nabod
  Hanfod pur un tlws flodeuyn
Dyf ar wyneb daear isod,
  Megys llygad bywyd purwyn?
Geilw dyn y peth yn fywyd,
  Beth yw bywyd?—dyfnder eto!
Nis gall dyn, nac angel gwynfyd
  Byth ei ddirnad—byth ei blymio!

O, fywyd byth-weithgar! Pa le mae'r athronydd
All ddeall dy natur a'th darddiad ysblenydd?
Mae pob gradd o fywyd yn llifo'n oes oesoedd

I fewn i ddirgelwch, fel dyfroedd i'r moroedd;
Dirgelwch yw'r cyfan, o'r pryfyn i fyny
Nes cyraedd ffynonell y dyfroedd a bery
I fywyd tragwyddol, sef bywyd yr Eglwys,
Dirgelwch y ddaear, dirgelwch paradwys!

Mwy hawdd yw egluro y bywyd llysieuol
A wrida i'r golwg ar ruddiau'r materol,
Ac agwedd uchelach y gallu dirgelaidd
A welir yn einioes y byd anifeilaidd,
Neu drwyadl ddeongli y bywyd gordanbaid
Fwrlyma yn mynwes yr angel a'r enaid,
Nag ydyw egluro y bywyd byth-ddirgel
Ymdreiddia drwy hanfod yr Eglwys aruchel.
Pur fywyd yr Eglwys, O! for annarluniol,
Heb greigiau yn deddfu ei lanw tragwyddol!
Claer ddyfnder diwaelod, eangder difesur
O fywyd anfarwol yw Crist i bechadur!

Yr Iesu yw tarddle y bywyd, a'r ffrydiau
Yw bywyd yr Eglwys mewn gwynfyd a chroesau;
Mae bywyd yr Iesu a bywyd pechadur
Crediniol yr un o ran ansawdd ei natur,
Efe yw y ffynon, yr Eglwys yw'r ffrydiau,
Un bywyd yw eiddo yr Eglwys ag yntau!
Efe yw'r priodfab, hi yw'r briodasferch,
Mae'r ddau wedi eu huno a rhwymyn nefolserch!
Mae hyn yn briodas nas gellir ei datod
Gan bethau presenol na phethau i ddyfod,

Gan uchder na dyfnder, na'r llyncly diwaelod,
Mae'r undeb yn gryfach nag angeu a'r beddrod!
Un Pen ac un undeb—y corff mawr ysbrydol,
Ond myrdd o aelodau a'u doniau amrywiol,
Y pen yw'r Cyfryngwr a'r corff dirgeledig
Yw'r Eglwys, a'i ranau yw'r seintiau puredig;
Mae'r aelod distadlaf yn derbyn ei gyfran,
Un gwaed ac un bywyd sy'n treiddio drwy'r cyfan.

Mor agos yw undeb yr Iesu a'r seintiau,
Efe yw'r winwydden, hwynt-hwy y cangenau;
Efe yw y gwreiddyn, hwynt-hwy yw y blagur,
Mae'r undeb mor gadarn a dwfn a *natur!*
Un natur yn cynal, un bywyd yn gweithio,
Un cariad yn cyneu, un galon yn curo,
Un meddwl a bwriad, ewyllys ac amcan,
Yw undeb yr Eglwys a'r Iesu ei hunan!

Beth sydd yn tywys y ffrydiau o'r ffynon—
O berson yr Iesu i enaid y Cristion?
Ffydd ydyw'r cyfrwng o'r ffynon i'r ffrydiau,
Ffydd drwy yr Ysbryd sy'n porthi y seintiau;
Mae'n gwneuthur yr Iesu, ei gyfoeth, ei allu
Yn eiddo tragyfyth i'r hwn sy'n ei meddu;
Mae ffydd yn difodi'r pellderau anamlwg,
A dyga'r dyfodol pellenig i'r golwg,
A thrwyddi mae'r Eglwys filwrol yn profi
Cymdeithas y nefoedd a'r mwyniant sydd ynddi.

Cymdeithas Crist, mwy gwerthfawr yw
  I'r Eglwys yn y byd
Na chyfoeth penaf dynolryw,
  A'i hawddfyd goreu i gyd.

Mae 'i gariad Ef yn llifo drwy
  Ei chalon dirion hi
Fel nefol falm i wella'i chlwy',
  A'i chynal uwch y lli'.

Mae 'i llygaid beunydd, er pob loes,
  Er pob tymestlog don,
Ar Iesu a'i flodeuog groes,
  Ar ei Hanwylyd llon.

Ac os bydd weithiau leni'r nen
  Yn cuddio'i siriol wawr,
Mae megys lili'n plygu'i phen
  Ar ol i'r haul fyn'd 'lawr.

Mae yn ei geisio, wyryf dlos,
  A'r dagrau ar ei grudd,
A'i phen yn wlyb gan wlith y nos—
  Mae'n teimlo'n llon a phrudd.

Mae yn ei geisio'n ddyfal iawn,
  Cythryblus ydyw hi,
Ac o'i galarus fynwes lawn,
  Dianga athrist gri.

"A welsoch fy Anwylyd mad ?
Y person hardda' erioed,
Mae megys pren afalau llad
Yn mhlith holl brenau'r coed.

Bugeilio mae ar ddwyfol fryn,
Yn mhlith y lili dlos ;
O! na chawn wel'd ei wyneb gwyn,
Drwy dduon leni'r nos!

Mor dda yw genyf eistedd lawr
Ar aml i dymestl flin,
O dan ei gysgod nefol mawr,
A'i winoedd ar fy min.

Mae'm pen dolurus ar ei fron,
Mae'm profiad oll yn hedd ;
Nid ofnaf angeu'r adeg hon
Tra'n syllu ar ei wedd."

Mae'r Eglwys fel deadell wan,
Yn gwrando blaidd gerllaw,
Yn teimlo yn bryderus pan
Y ceidw'r Bugail draw.

Pan roi'r ei bresenoldeb glan
I'r Eglwys yn ddi-len,
Mor orfoleddus yw ei chân,
A thanbaid yw fel haul y nen.

Mae 'i gobaith fel y boreu wawr,
Yn ddysglaer yn y nef,
A'i ffydd yn sylweddoli'n awr
Drysorau 'i gariad Ef.

### CANIAD III.

Ai gwir yw y syniad y trig gyda dynion
Y Duw hollwybodol a thad yr ysbrydion?
Ai gwir yr ymholiad? Gwir yw y rhyfeddod,
Yr Eglwys wyl ydyw ei hoffaf breswylfod!
Iehofah ddisgynai i'r ddaear ar droiau
Drwy'r nos batriarchaidd ar fyr ymweliadau;
Daeth heibio i Abra'm fel dynol ymwelydd,
Gan dderbyn o'i groesaw a phrofi ei fwydydd!
Daeth heibio i Jacob, O! 'r ymdrech ysblenydd
O ddechreu'r dawelnos hyd doriad y wawrddydd!
Disgynodd ar Horeb ei glaer bresenoldeb,
Siaradodd a Moses yn wyneb yn wyneb;
Ond byr oedd arosiad y Dwyfol Ddaioni,
Ymweled, nid trigo, a wnai y Goleuni;
Ond Ah! nid ymwelydd—y penaf breswylydd
Yw Ef yn yr Eglwys, a'i nerthol gynalydd.

Trig Duw drwy 'i Ysbryd ynddi hi,
Er maint ei chri a'i chwyno,
I'w nerthu a'i santeiddio'n bur
Yn myd y cur a'r wylo.

Mae ynddi yn amddiffyn prid
  Yn wyneb llid gelynion,
Ac yn ddyddanwch yn mhob loes,
  Nes yn lle croes caiff goron.

Mae'n dod! ac yn eu plith yr Ior,
  Mae'r mor ei hun yn agor
Ei lygad mawr i ganfod hyn,
  Mae'n syn mewn cyfyng-gyngor.

Pa beth a fu? Ah! cilio wnaeth
  Oddiar y traeth gan ofni,
A rhoi tramwyfa deg, ddi-gwys
  I'r Eglwys hoff gael croesi.

Mynyddau'r byd ddatgana 'i chlod,
  Fel hyrddod oll y neidiant,
A'r banawg fryniau gan ei swyn,
  Fel hoenus wyn ymbranciant!

Yr afon mewn llawenydd mawr
  A lifa'n awr o'i tharddle,
Er gwneuthur ffordd o'i thywod aur
  I'r Eglwys glaer fyn'd adre'.

Yr haul a'r lleuad uwch y fro,
  Hwy oedant yno i syllu
Ar y gogoniant tanbaid sydd
  Yn dod fel dydd i fynu.

Aneirif fydoedd, swynol ser,
  Y'nt fyddin bêr i'w gwylio
Drwy eirwon lwybrau anial le,
  Nes dod i'r ne' i drigo.

Gogoniant gwir yr Eglwys yw
  Glan Ysbryd Duw a'i riniau,
Pan ymddysgleiria yn ei nerth,
  Mor brydferth ei chynteddau.

O ! cyfrwng yw yr eglwys ir
  I roi y gwir i'r oesau,
Derbyniodd hi oraclau Ior
  Yn drysor er yn forau.

Eneinia'i llygad, Nefol Dad,
  I wel'd y wlad yn suddo,
A'r cyfrwng mawr fel pe mewn hun,
  A'r "gelyn ddyn" yn llwyddo.

Bendithied Duw ei eglwys gu
  A llu o arweinyddion,
Rhodd Moses lariaidd iddynt gynt,
  Pan yn yr helynt creulon.

Trosglwyddodd iddi'r ddwyfol ddeddf,
  Deonglodd reddf ei chalon ;
Ei phrofiad brwd a rodd mewn cân,
  Arwrol dân-

Y Pêr-ganiedydd yn ei dro,
  A ga'dd i'w bro am flwyddi,
Chwareuai ef ei nefol don
  Fel angel Ion i'w lloni.

Anadla 'i odlau melus, ffiwch,
  Ei thristwch fel ei gwynfyd,
Ac yn ei Salmau peraidd ef
  Ca'dd iaith y nef mewn adfyd.

Elias ga'dd yn genad mawr,
  Mor deg a'r wawr ddysgleiriaf,
Neu gomed danllyd yn y nef,
  A'i ddyeithr lef gadarnaf.

Ca'dd lawer proffwyd, lawer bardd,
  Ca'dd lawer efengylydd,
Fel Esaiah, gerub hardd,
  A phrif-fardd yr Achubydd.

Ca'dd Jeremiah drist, a'i ben
  Yn ddyfroedd oll i gyd,
A'i lygaid fel cymylau'r nen
  Yn wylo uwch ei chryd !

Ca'dd un na feiddia'r llewod rhydd
  Ei gyffwrdd yn ei ffau,
Ei lygad craff a welai ddydd
  Yr Iesu yn neshau !

Hi ga'dd y bywyd mawr ei hun,
  Y Mab mewn gwisg o gnawd,
Ca'dd ddelw Duw a'i unig lun
  Yn mherson hardda'i Brawd!

Mwyn, mwyn
Yw Ef fel bugail llawn o swyn,
I'w dirion ddefaid mad a'i wyn,
Arweinia hwy i'w borfa fras,
Gerllaw y dyfroedd tawel, clir,
Yn nwyfol dir ei nefol ras.

Pwy, pwy,
Sydd fel Efe i'w golwg hwy
I wella eu dolurus glwy'?
Gofalus yw o'r grwydrol un,
A i'r anialwch ar ei hol,
A chyfyd hi i'w gol ei hun.

Loes, loes
I'w gorlan fach oedd cario'r groes
O'i golli Ef yn moreu 'i oes;
Bu farw megys "Bugail Da,"
Tragwyddol goffa am ei glwy'
I'w gwared hwy o'i marwol bla.

Hedd! hedd!
Mae wedi codi'n fyw o'r bedd,
Ac esgyn fry i'w ddwyfol sedd!
Mae'r Eglwys yn amddifad 'n aw-

A dagrau tristwch ar ei grudd,
Yn syllu'n brudd am doriad gwawr!

Gwawr! gwawr!
Mae y dylanwad grymus, mawr
Yn disgyn gyda swn i lawr,
Mae yn yr eglwys nerthol dân,
Immanuel—Duw gyda ni—
Sef dwyfol li' yr Ysbryd Glan.

Hardd! hardd!
Mae'r eglwys weithian megys gardd,
A'r blagur ieuanc ynddi dardd;
Y dwyfol wynt a chwyth yn bêr
Ei pheraroglau er bywhad,
I bob rhyw wlad o dan y ser!

Er claddu'r proffwydi ac esgyn o'r Iesu,
Mae'r Ysbryd yn aros o hyd i'n dyddanu,
Mae ef yn preswylio'n barhaus yn ei chalon
I nerthu ei gwendid a lleddfu ei gloesion.
Os yw'r apostolion, y deuddeg hardd-seren,
Draw, gynt, a dywynent mor loew'n ei hwybren,
A'r tadau boreuol y'nt eto yn olau,
Er pelled y safant yn hanes yr oesau;
A ser y diwygiad—eu llewyrch pur, amlwg,
A dorodd drwy'r caddug tywyllaf i'r golwg;
A lluoedd na ellir yn awr eu croniclo,
A fuont yn fendith i'r Eglwys ddiwrthdro;
Os hwy a symudwyd o'r Eglwys filwrol

Fel milwyr a gawsant y llawryf buddugol,
Mae Ysbryd yr Iesu yn aros yn ddibaid,
A cheidw fflam ddwyfol ei bywyd yn danbaid!

Mewn llu o garchardai tywyllion ac erchyll,
Bu'r Iesu'r pryd hyny'n ei hymyl yn sefyll;
Mewn llawer i ogof yn llawn o dywyllni,
Daeth Ef idd ei chanol mewn gwisg o oleuni!

Mewn myrdd o wasgfeuon a phob creulonderau,
Mewn noethni, enbydrwydd, mewn newn ac eisiau,
Mewn gwaeau dirdynol ac erledigaethau,
Mewn dyfroedd cythryblus, tymestloedd ac ofnau,
Yn nghanol bwystfilod cynddeiriog a gwancus,
A phob diystrwch a gwawd-drem ddirmygus,
Yn nghanol cynddaredd dinystriol y fflamau,
Pan geisid ei thaflu'n ysglyfaeth i angau!—
Oedd iddi'r pryd hyny yn nerth a chadernid,
Yn noddfa gysgodol, yn llawn ei addewid,
Yn olew i'w briwiau, yn ddefnydd i'w chariad,
I'w chalon gystuddiol yn falm cydymdeimlad,
Yn llewyrch i'w gobaith, i'w ffydd yn oleuni,
Yn angeu i'w hofnau 'n y dyfnaf galedi,
Yn fywyd i'w hysbryd, yn deg iachawdwriaeth
Pan oedd yn ymwingo yn mhalfau marwolaeth!

Mae Duw yn costrelu ei dagrau hiraethlon,
Gan drefnu y palmwydd blodeuog a'r goron!
Ei dagrau gyfodant mewn [illegible] au,
A'i gwaed fu yn wrtaith [illegible] au!

Po chwerwaf ei chwpan, po ddyfnaf ei hadfyd,
Melusaf ei mwyniant, dysgleiriaf ei gwynfyd!
Mae pob goruchwyliaeth, pob peth yn cyd-weithio
Yn nwylaw yr Ysbryd i'w pherffaith santeiddio
I dderbyn tragwyddol ogoniant y nefoedd
Ar lanau tawelaf, dwyfolaf ei moroedd!

Yr Iesu yw proffwyd yr Eglwys hyd heddyw,
Mae'n dysgu drwy 'i Ysbryd a'i weision uchelryw,
Mae'n dysgu drwy 'i Eglwys a'r Dwyfod Ddat-
guddiad,
Mae eto yn athraw ar orsedd y cread!
O! Ysbryd y bywyd, bywha y cyfryngau,
Fel dygir y miloedd o'r caddug i'r golau,
Fel byddo'r cenedloedd yn deg etifeddiaeth
I'r Iesu bendigaid a'i raslawn freniniaeth!

Boed y mynyddoedd megys gynt,
Yn llamu ger ei bron,
A'r tonog for a'r bywiol wynt
Yn plygu glin i hon.

Dysgleiried ei gogoniant mawr
Dros wyneb daear werdd,
A llanwed Ior ei mynwes 'n awr
A gorfoleddus gerdd.

Eiriolaeth Iesu gyda'r Tad
Yw bythol sail ein ffydd;

Daw'r olaf un o'r Eglwys fad
  Yn iach i'r nef ryw ddydd.

Yr Olaf Ddydd sy'n gyru'n drwm
  At bruddion byrth y Dwyrain,
A'i ddirfawr lwyth fel byd o blwm,
  Arafa'i gerbyd mirain.

Mae'r byd wrth drwst ei gerbyd ef
  Yn siglo i'w ddyfnderoedd,
A sigla'r lloer a ser y nef
  Fel dail o flaen ei wyntoedd!

Mae'r haul yn duo yn ei wedd,
  Ni feiddia syllu arno;
A'r dydd esgyna fry i'w sedd,
  A mantell ddu am dano.

Eistedda'r Barnwr ar y fainc,
  Cydwybod pawb ddeffrowyd;
Ac yn ei wydd, tragwyddol gainc
  Yr engyl a ostegwyd.

Byth-bwysig ddydd! datguddia hwn
  Ddirgelion dyddiau'r oesoedd;
A phob annuwiol dan ei bwn
  A suddir i'w dymestloedd!

Ond swn yr udgorn seingar aur,
  A gasgla'n nghyd yr Eglwys,
Mewn gwisg o anfarwoldeb claer,
  At Iesu i baradwys!

Olygfa gain! pa le mae'r bardd
Ddesgrifia'r Eglwys berffaith, hardd,
Yn nhy ei Thad a'i freiniol ardd,
  Ger bron y Ceidwad cu?
Mi ro'f fy eiddil bin i lawr,
I syllu ar ei dwyfol wawr,
Mewn hyder caf, pan ddel yr awr,
  Addoli 'n mhlith ei llu!

---

## *ANFARWOLDEB.*

### CANIAD I.

#### Y CYNWYSIAD.

Ymson parth Anfarwoldeb—A oes arall fyd yn bod, cynwysedig o nefoedd ac uffern?—A ydyw ein caredigion a'r cenedlaethau fuont feirw yn ymwybodol yn bresenol mewn sefyllfa arall? A oes gobaith ail-gyfarfod?—A yw angeu yn dinystrio y person, y cof, y deall, yr ewyllys, y gydwybod, yr ymwybyddiaeth, a'r unrhywdeb?—Ymholiad i natur yr enaid, ai mater yw, ac a yw i ymdoddi eto i'w elfenau cynhwynol?—Yr oesoedd yn chwilio, ond o'r diwedd gwawr a ymddangosodd yn Groeg, sef dysgeidiaeth Plato—Croesaw i oleuni athroniaeth o Plato hyd yn bresenol—Darnodiad o'r enaid yn wyneb athroniaeth oleuedig—Anfarwoldeb yn ymddangos yn ddichonadwy oddiwrth ysbrydolrwydd natur yr enaid, yn debygol oddiwrth gyffelybrwydd anian, yn ddymunol pan ystyrir dysgwyliadau dyfnaf yr enaid.

Ar ol petruso, anog a rhybuddiaw,
Oes Anfarwoldeb claer yn bod ai peidiaw?

Oes arall fyd tu hwnt i hwn yn gorwedd,
Yn estyn i'r dyfodol yn ddiddiwedd?
Byd na rifir ein blynyddoedd ynddaw,
Nad yw ei ddullwedd ef yn myned heibiaw;
Byd mawr sefydlog, nad oes modd tramwyo
O un sefyllfa i'r llall, er bythol geisio;
Byd deublyg yn ei natur, cynwysedig
O uffern drist a nefoedd wynfydedig!

"I fod neu beidio bod" yw'r ymson dyrus
Sy'n codi yn y meddwl byth-gynyrfus!
Wyf *fi* i fod? A fyddaf fi fy hunan
Tu draw i angeu yn bodoli 'n rhywfan?

Beth am ein mam?—ddiffoddodd fflam ei henaid
Pan gauodd angeu du amrantau 'i llygaid?
Pan ydoedd gwaed ei chalon frwd yn oeri,
A beidiodd mor ei serch am byth a thoni?
Ai nid yw'n bod, ai nid yw 'i hysbryd heno
Mewn arall fyd yn ymwybodol synio?

Beth am ein tad, ein brodyr a'n chwiorydd?
Beth am y cenedlaethau er y cynddydd?
Ddinystriwyd hwy yn mhangfa olaf angau?
Ddiddymwyd torf angylaidd yr un borau?
Oes gobaith ail-gyfarfod? Gawn ni weled
Ein holl anwyliaid ar y lan ogoned?

A yw angeu yn dinystrio'r
Dinystrio'r cof, y de

Dinystrio yr ewyllys, y gydwybod,
A tharaw'n hymwybyddiaeth mad â malldod,
Dinystrio ein hunrhywdeb—ninau 'n colli
Ein hunan byth fel gwlithwlaw yn y cefnlli'?

Yw enaid yn anfarwol? Yw ei haniad
I'w olrhain fry i achau pena'r cread?
Pwy ddywed beth yw 'i natur? Pwy sy'n gwybod
Beth ydyw yn sylweddol o ran hanfod?
Ai mater yw? Ai doeth ddetholiad trefnus
O'r holl elfenau sy'n gwneyd enaid medrus?
Ai tyner fynwes gydnaws yr elfenau
A roes y bod deallol hwn i ninau?
A ydyw eto i ymdoddi iddynt?
Pan wedi gorphen ei ddaearol helynt?—
Ymdoddi i belydrau'r wawrddydd olau
Pan dyn ei olaf anadl wan yn angau?
Pwy rydd atebiad? A yw'r byth athronawl
Fel mangre'r beddrod, megys mudan hollawl?

Bu oesau'n chwilio'n ddyfal; ond o'r diwedd
Ar gaddug Groeg tywynodd gwawr oleuwedd,
A graddol 'hedodd ar ei hesgyll mirain
I diriogaeth ymerodraeth Rhufain;
Hawddamor Plato, a'th ddysgyblion mawrfri,
Hawddamor idd eich dysg a'ch teg oleuni,
Hawddamor athronyddion drwy y gwledydd,
O Plato mawr i lawr i'n hoes ysblenydd!
Dywedwch wrthym, ydych chwi yn gwybod
Pa beth yw enaid yn ei ddyfnaf hanfod?

A barnu enaid wrth ei weithrediadau,
Fel bernir defnydd, wrth ei briodoleddau,
Ysbrydol fod anfarwol, anwahanawl,
Yn derbyn ffrwd ei einioes o'r tragwyddawl,
Yw'r enaid mawr. ac hanfod pur ei fywyd
O'r un naturiaeth ag ysbrydion eilfyd.

Glan ysbryd ydyw enaid, megys angel,
A thad pob ysbryd yw y Duw goruchel;
A braidd na chuddia'r awen ei gwynebpryd
O dan ei chain adenydd, pan yn d'wedyd,
Fod natur enaid, eithro graddau'n unig,
Yr un a natur fyw yr Anweledig!

Mae *ysbrydolrwydd hanfod* enaid grymus
Yn dangos Anfarwoldeb fel peth gweddus,
Yn beth i'w ddysgwyl, ac yn ddichonadwy,
Yn beth i'w ganmawl byth, yn beth credadwy!

Mae 'i uchef sylwedd ef yn sylfaen gymwys
I osod Anfarwoldeb arni i orphwys,
I Dduw i gerfio y llyth'renau tanllyd,
YMWYBODOLRWYDD FYTH MEWN TRAGWYDDOLFYD!

Mae'r enaid sydd yn meddu bonedd dwyfol,
*Os Duw a'i myn*, yn addas i'r anfarwol,
I deg sefyllfa, draw ar finion nefawl
Aberoedd Anfarwoldeb yn oes oesawl!
Gan mai ysbryd ydyw, pan ddaw'r cyfnod.
Gall daflu 'i gorff fel mantell ddu i'r be

Oblegid mae ei sylwedd yn arddangos
Y gall fod Anfarwoldeb yn ei aros!

Os clir ddeongliad cywir eto gawn
O feddwl cyfrol natur, dwfn ei dawn,
Y gyfrol henaf fedda dynol-ryw,
Argraffiad cyntaf o feddyliau Duw,
Ar du dalenau'r hwn, sef tir a mor,
Haul, lloer a ser yr ysgrifenodd Ior,
Mewn ieithoedd amlwg, hynod hawdd i'w gwybod,
"Ei dragwyddol allu ef a'i Dduwdod!"
Mae iaith y gyfrol hon fel ffrwd ddiatal,
Yn nghlyw yr enaid yn cyfriniol sisial—
Y *tebygolrwydd* yw fod Anfarwoldeb
Draw o'th flaen ar diroedd tragwyddoldeb.

Gronynau mân a gyfansoddant ddefnydd,
Drwy greadigaeth eang y Creawdydd;
Nid yw'r mynyddau mawrion a'r dyffrynau,
Y llysiau oll, y brieill a'r rhosynau,
A chyrff yr anifeiliaid, llawn o fawredd,
A'r dynol gorff—y brydferth babell ryfedd;
Nid ydynt yn eu dadansoddiad olaf,
Ond mân ronynau yn eu dull taclusaf!
Er mor aflonydd ydynt yn eu trigle,
Er newid eu perthynas, ffurf a'u safle,
Ni chollodd yr un gronyn bach ei hanfod
Drwy holl aruthrol oes ei bererindod!

Mae'r pedwar tymor trefnus ac ysblenydd
Yn newid dulliau ymddangosiad defnydd;

Ond ni ddifoda'r hydref gwyw a'r gauaf
Ddefnyddiau'r gwanwyn gwyrdd a'r haf pryd-
ferthaf;
Mae'r defnydd oll drwy y tymorau oeraf
Yn nghoffrau natur, dan ei chloion sicraf;
Ac ymddangosa yn ei wisg Sabbothol
Yn nghysegr anian pan ddaw'r gwanwyn siriol!
Argraffodd "Bydded" Ior mewn sillau eglur,
Barhad maith gyfnod ar ronynau natur!
Yn wyneb hyn, tebygol yw y casgliad,
Mae'n heiddo ni yw einioes mewn bytholwlad!

Mae'r byd anianol megys aur-fynegfys
Yn dangos Anfarwoldeb yn dra hysbys;
Pan fyddo'r haul o'r nefoedd yn machludo,
Ac anian brudd ar ol y dydd yn wylo,
Mae'r wylaidd nos ar draws y cain wybrenydd
Yn araf symud ar ei gwyll-adenydd,
Gan alw'r ser o un i un i'r amlwg,
Cenadon Anfarwoldeb y'nt i'n golwg!
Pob seren dlos sydd ar ei bron brophwydol,
A ddenys Anfarwoldeb yn debygol;
Y mae ei mud hyawdledd yn cyhoeddi
Fod arall fyd tu draw i'w thlws oleuni,
Fod tecach fydoedd fry—dwyfolach huan—
Siriolach ser mewn clirach nenau'n hedfan;
Fod yn y bydoedd [illegible]eni,
Eangach cylc[illegible]

Os gwyliwn eto *ffrydiau'n dysgwyliadau*,
Drwy gudd-drofeydd gwelïau ein calonau,
Canfyddwn hwy'n ymarllwys, er pob rhwystrau,
I for diderfyn Anfeidrolldeb golau!

Mae dysgwyliadau dyfna'r ddynol galon,
Er gwawriad ymwybyddiaeth yn y person,
Yn oriau eurog diniweidrwydd mebyd,
I lawr i orllewinfyd hydref bywyd,
Yn mhob amgylchiad yn dyheu'n hiraethlon
Am froydd irdwf Anfarwoldeb tirion!

Fel mae anian mewn gauafol oerni
Yn erfyn am gael haf i guddio 'i noethni,
Fel llifa'r nentydd nwyfus tua'r moroedd,
Fel brefa'r hydd am yr afonydd dyfroedd,
Fel ceisia'r ych ei hoff feddianydd serchog,
A'r asyn pwl rad-breseb ei berchenog,
Fel yr hiraetha mam am faban sugno,
Ac fel mae'r baban am y fam yn wylo,
Fel gwyliwr am y boreu'n troi ei wyneb,
Y dysgwyl enaid dyn am Anfarwoldeb!
Y dyfnaf oll o'i ddysgwyliadau ydyw,
Y penaf a'r hoffusaf un o'r cyfryw;
Mae'r lleill o'i eiddo'n plygu i'w fawrhydi,
Yn rhoi gwarogaeth iddo a'i goroni.

Mae'n deyrn urddasol dysgwyliadau'r galon,
Mae'n danbaid haul yn mhlith ein ser-obeithion!
Ac fel y rheoleiddia'r haul pelydrog

Y bydoedd prydferth yn y cysawd heulog,
Y rheoleiddia yntau ddysgwyliadau
Yr enaid treiddgar yn ei holl arweddau;
A thafla drwyddynt oll ei wres a'i yni,
Fel tafla'r haul drwy 'i gysawd ei oleuni;
Mae'r fath ddysgwyliad aiddgar, annigonol,
Yn gwneuthur Anfarwoldeb yn addawol.

Deddf benaf enaid yw casâu marwoldeb,
A cheisia ac anwyla Anfarwoldeb!
Mae awydd dirfawr yn y glaslanc hoew
I enill iddo'i hunan fythol enw,
Mae'r syniad hwn o flaen ei ieuanc feddwl,
Fel seren gobaith fry ar ael y cwmwl,
Yn wyneb rhwystrau yn adloni 'i ysbryd,
Yn nerth i ddringo cribog riwiau bywyd!
O fryn i fryn i'r lan i'r clogwyn uchaf,
Drwy arfer egni yr esgyna'n araf,
Mewn hyder llawn i gerfio sillau 'i enw
Ar greigiau Anfarwoldeb cyn ei farw!

Deisyfiad cryfaf dyn yw Anfarwoldeb,
Heb un ysmotyn yn cymylu 'i wyneb!
Bu hyn yn achos plethu llawer caniad
Gydoesa'n wisgi â holl oesau'r cread!
Fe daniodd Anfarwoldeb awen Pindar,
A Virgil gu ac eiddo Homer lachar,
Ac eto Milton, y cerubfardd clodus,
Ac eiddo Islwyn fwyn, ein hathraw medrus;
Drwy bêr acenion eu cynyrchion hylaw,

Mae dyfroedd Anfarwoldeb byth yn ffrydiaw!
Arwydda hyn mai seren fawr, ogleddol,
Pwynt cwmpawd dyn yw Anfarwoldeb bythol!

### CANIAD II.

#### Y CYNWYSIAD.

Cymhelliad i'r wawr nefol arwain y dydd i fewn, ac i'w belydrau ymwasgar dros y ddaear, fel y byddo i'r nos ddiflanu o flaen haul Anfarwoldeb—Anfarwoldeb yn awr, nid yn ngoleuni y nos, sef Llyfr Natur, ond yn ngoleuni yr haul, y Datguddiad Dwyfol—Anfarwoldeb, nid yn unig yn debygol, ond yn *sicr*—Dysgir y gwirionedd yn Ngair Duw mewn tair ffordd—drwy osodiadau syml ac uniongyrchol, ac yn y bygythion a gyhoeddir uwchben yn annuwiol, ac yn yr addewidion a roddir fel cyfnerthion i'r Cristion ar ei bererindod drwy y byd drwg presenol—Y gwahaniaeth rhwng Anfarwoldeb y credadyn a'r anghredadyn—Pechod wedi cymylu Anfarwoldeb dyn, ac wedi ei ysbeilio o'i ddedwyddwch—Duw yn ei ras a'i ddoethineb yn trefnu ffordd i adferu ei wynfyd a'i ddysgleirdeb drwy aberth yr Iesu, yr hwn a ddygodd fywyd ac *Anfarwoldeb* i oleuni drwy yr efengyl—Adgyfodiad yr Iesu yn taflu goleuni Anfarwoldeb ar dywyllwch y bedd, ac yn sail gobaith ail-gyfarfyddiad tu draw i angeu—Anfarwoldeb allan o Grist yn ofnadwy i syllu arno—Anfarwoldeb yn Nghrist yn llawn sirioldeb, llawenydd a bywyd tragyfyth—Y bywyd presenol fel cyfnod i hau, ac Anfarwoldeb fel maes y medi diddarfod—Ffydd yn Nghrist yw yr unig ffordd i sicrhau Anfarwoldeb dedwydd—Anfarwoldeb pechaduriaid anedifeiriol a'r angylion colledig—Anfarwoldeb y gwaredigion a'r angylion santaidd—Anfarwoldeb Duw, "yr hwn yn unig sydd ganddo Anfarwoldeb."

Nefolaidd wawr! ymdaened dros y ddaear,
Ymdoned drwyddi oll ei llewyrch llachar,

A chuddied nos, fel gwyryf wyl, ei gwyneb
O flaen cerubaidd huan Anfarwoldeb !

Syllasom yn flaenorol ar y testyn
Yn eiddil lewyrch gwan y nos ddilychwyn,
Yn llewyrch lloer a ser, y siriol lampau
A ga'dd ein byd nes torai'r dwyfol forau !

Hawddamor haul ! ceir syllu o hyn allan
Ar Anfarwoldeb yn ngoleuni'r huan !
O ris i ris fe gyraeddasom bellach
I nefol wybren glir Datguddiad *sicrach.*
O uchel safle y Datguddiad Dwyfol,
Try'r tebygolrwydd gynt yn *sicrwydd* hollol !
Os eir i'r gyfrol santaidd hon i chwilio,
Ceir gweled Anfarwoldeb drwyddi'n gwawrio !

Fe ddyg yr hoff wirionedd hwn i'r golwg
Drwy osodiadau uniongyrchol, amlwg,
Drwy ddwys gyhoeddi ei bygythion enbyd
Ar yr annuwiol yn y tragwyddolfyd,
Drwy roddi addewidion i gysuro
"Y pur o galon" ar ei ymdaith yno.

Yn ngwawl y Gair, ymddengys Anfarwoldeb
Fel planed hardd, yn orlawn o ddysgleirdeb
I deulu'r ffydd, ond O ! i'r rhai annuwiol,
Fel planed gollodd ei gogoniant gwreiddiol !

O, ddyn anffodus ! pylodd pechod atgas
Ei Anfarwoldeb drwy hudoliaeth ddiras ;

Dinystriodd ei ddedwyddyd, ei ysblander,
A'i adael iddo fel byth-wancus wagder,
Heb Dduw, heb obaith, heb y cysur lleiaf,
O'i bell ganolbwynt i'r amgylchedd eithaf!

Ond clod i ras yr Ior a'i fawr ddoethineb,
Ca'wd cynllun i adferu ei ddysgleirdeb,
I fywyd lifo megys mor diderfyn
I wagder Anfarwoldeb enaid wed'yn!
Fe ddygodd Iesu drwy angeuol gyni,
Hedd, bywyd, *Anfarwoldeb*, i oleuni!

Y beddrod tywyll fu am oesau lawer
Yn gorwedd o dan orchudd du o brudd-der,
Yn llyncu'r cenedlaethau fel eu dagrau,
Fel llynca'r eang for y bychan ffrydiau,
Heb lusern gobaith yn ei randir marwol,
Heb sicrwydd ail-gyfarfod yn oes-oesol;
Ond yn ffrwythlondeb adgyfodiad Iesu
Ca'wd sicrwydd cyfyd cnwd o'r oror oerddu;
A chrogwyd, hefyd, lusern cain oleuni
Teg Anfarwoldeb yn y mawr dywyllni!
Mae gobaith ail-ymgynull, gellir canfod
Y glanau fry drwy ogof ddu y beddrod!

Ein Hiesu graslawn! ynot ti yn unig
Y gellir edrych ar y maes mawreddig,
Maes Anfarwoldeb, maes y diderfynau,
Heb ymddyrysu'n llwyr a wylo dagrau!

Wrth dremio arno, ar wahan i'r Iesu,
Pa gerub-enaid feiddia ddal heb grynu?
Mae seiliau dyfnaf ei fodolaeth hoew
Yn crynu fel y don ar fron y llanw;
Mae arswyd, dychryn yn ymgripio drosto,
Mae 'i gynwys yn rhy drwm i enaid gludo;
Mae'r uthrol faich yn llethu 'i ysbryd weithian,
A pharod yw i wylo'i einioes allan!

Ond yn yr Iesu, y mae Anfarwoldeb
Yn gwenu arnom yn ei hardd sirioldeb..
Fel gwena'r huan ar y ddaear weddus,
Neu ryddid nefol ar y rhai caethiwus,
Fel gwena'r nefoedd ar yr edifeiriol,
Neu'r Hollalluog ar ei Fab tragwyddol,
Efelly yn yr Arglwydd Iesu weithion
Y gwena arnom Anfarwoldeb tirion!
Mae'n gynwysedig yn ei fynwes helaeth
Dragwyddol fywyd mewn tragwyddol dalaeth,
Heb boen na gofid, cystudd blin na chwynfan,
Mae'n cynwys Iesu Grist a Duw ei hunan,
A buddugoliaeth ar ein holl wendidau,
Pan syrthia'n deigryn ola' i afon angau!
Ac ymddedwyddu fyth yn nheyrnas nefoedd,
Yn mhlith cerubiaid fyrdd ac engyl luoedd!

Mor fyr a brau yw bywyd, pan ystyrir
Mae'n bywyd yma yw y bychan randi'

Sydd genym idd ei hau, ar gyfer tymor
Y digyfnewid Anfarwoldeb didor.

Beth am ein hau? mae hyn yn bwysig ini,
Oblegid fel yr hau y bydd y medi;
Os hau i'r cnawd, o'r cnawd y medwn hefyd
Gynauaf chwerw cosbedigaeth eilfyd!

Ond os i'r Ysbryd, medwn yn oes oesoedd
Anniflan fywyd mewn anfarwol fydoedd;
Annhraethol ddawn! drwy ffydd yn Nghrist ein
Harglwydd,
Mae gobaith ini am Anfarwoldeb dedwydd!

Rhaid troi yn awr, a'r dagrau ar ein gruddiau,
A'n bron yn brudd, a'n calon drom yn friwiau,
I syllu ar drueni tost, melldithiol,
Ar Anfarwoldeb *du* eneidiau damniol!

Herfeiddiol luoedd, gwrthodasant gredu
Yn rhinwedd gwaed ac aberth drud yr Iesu,
Carasant bechod a'i dyngedfen enbyd
Yn fwy nag heddwch Duw yn yr Anwylyd;
Carasant Anfarwoldeb uffern danllyd
Yn fwy nag Anfarwoldeb hapus gwynfyd!
Trwy eu drygioni troisant hwy y fendith,
Sef Anfarwoldeb, yn fyth-boenus felldith!

Rhaid rhagflaenu amser, dychymygu,
Fel pe b'ai rhodau amser wedi rhydu,

A rhyfedd gyffro'r adgyfodiad bywiol,
A'r farn derfynol yn y pell orphenol,
A lle pob person wedi ei dyngedu,
A'r tragwyddoldeb *deublyg* yn teyrnasu,
Rhaid taflu trem i gartref uffernolion,
Er canfod Anfarwoldeb colledigion !

Cartrefle tost ! cyfandir trwm o ingoedd,
O'i uchel binacl fry i'w orddyfnderoedd,
A dinystr, fel ellyllgawr dig yn marchog
Ar wylltion edyn ei dymestloedd hyrddiog,
Y rhai a luchiant yr uffernol greigiau
Drwy'r awyr grasboeth, fel llosgedig Alpau,
A barnawl gymyl Ior, fel duon fydoedd,
Yn crwydro drwy yr entrych yn fil miloedd,
Gan daflu allan o'u geneuau llidiog
Ufelawg dân a mellt, fel seirff colynog,
A tharan ar ol taran yn ymdori,
Nes ysgwyd y boenydfa i'w sylfeini !
A gwg yr Ior, fel ysbryd byw, teimladwy,
Mewn digllawn farnau drwyddi oll yn tramwy !
Y colledigion geisiant ymlochesu
Yn nghysgod creigiau tân a'r cymyl pygddu,
Neu dan adenydd y tymestloedd uthrol,
Neu dan fynyddog donau'r mor byth-ruol,
O wydd y dwyfol wg sydd drwy yr anhwys
Mewn digter pur yn symu
Ac ar y llynclyn dwfr
A'r gwyntoedd poet

Ac ar y boen, yr ochain a'r gynddaredd,
Ac ar y dagrau tân a'r rhincian danedd,
Ar uffern fawr, a'r dwyfol wg dramwya
O'i huchaf bwynt idd eu gorddyfnder isa',
Ar gyfansoddiad y colledig ddynion,
Ar ddalen cydwybodau yr euogion,
Yr ysgrifenodd Ior mewn fflamawg sillau,
" *Cewch anfarwoldeb tost mewn byd o waeau!*

Y pwll diobaith! y carchardy cyfion
Ddarparwyd i ddiafol a'i angylion,
Ni welir drwy ei ddyfnder mawr, ellyllig,
Ond Anfarwoldeb yn ei wedd gythreulig!

Yr engyl fuont megys blodau bywyd,
Wynebent gynt ar Anfarwoldeb hyfryd,
Ar hyd y bryniau lle mae bythol fwyniant,
A hedd a bywyd yn ei prid ogoniant,
A welir yma mewn trueni isel,
Yn dwyn cyfiawn gosb eu cas wrthryfel!
O! etifeddion annuw distryw erchyll,
Eu heiddo hwy yw Anfeidroldeb *tywyll!*

Esgynwn o'r annwfn i fro bythol fywyd,
Bro'r angel, y seraff a'r cerub goleubryd,
Bro'r seintiau gwaredol, lle trig Anfarwoldeb
A mwyniant llifeiriol a bywyd mewn undeb!

Y nefoedd fendigaid! paradwys duwiolion,
Y rhai fu'n estroniaid i Dduw a'i fendithion;

Claer luoedd seraphaidd! molianus yw'r anthem
A ganant mor beraidd yn ngwynfyd Caersalem,
I'r hwn a'u gwaredodd o'u pechod a'u soriant,
I'r hwn a'u dyrchafodd i seddau gogoniant,
I ymyl claerineb ei orsedd ei hunan,
Lle trig Anfarwoldeb goleuwawr yn mhobman!

O dalaeth i dalaeth, o derfyn i derfyn,
Y mae y beroriaeth berseiniol yn estyn,
Ac mae Anfarwoldeb yn llifo'n oes oesoedd
Yn nhoniad soniarus cân newydd y nefoedd!

Y mae Anfarwoldeb y dyrfa santeiddiol,
Fu'n orlawn prysurdeb mewn aflwydd daearol,
Yn eglur ddeongliad ar ddirfawr dywyllni
Y dyrys ymdeithiad i froydd goleuni!

Y seintiau fuasent dan draed eu gelynion,
Trallodion rhagluniaeth ac ofnau eu calon,
Bron llithro, fel Dafydd, wrth wel'd yr annuwiol
Yn llwyddo yn foethus mewn ystyr dymorol;
Dan dduon gymylau, fel Job, yn eu galaeth,
Yn nhanllyd ffwrneisiau poeth-burol rhagluniaeth,
Yn cwynfan fod llwybrau y Duw Hollalluog
Mor aml yn nyfnderau y moroedd tymestlog,
Bron tori 'u calonau wrth ganfod y beddau
Yn cau ar wrthrychau hoffusa'u serchiadau,
Dirgeledigaethau y Dwyfol Ddatguddiad
Bron gyru eu *hofnau* i ameu 'i gynwysiad;

Ond henffych nef-drigfan! Yn nhir Anfarwoldeb
Ymddengys y cyfan mewn perffaith gysondeb!

Ymddengys y wylaw yn ffrwythlawn a golau,
Yn awr, pan mae'r dwylaw ar danau y graddau!
Y peiriau puredig, yr ofnau a'r dychryn,
A dry'n felus fiwsig ar danau y delyn!
Y dagrau a'r cwynfan wrth gladdu anwyliaid
A gwyd yn bereiddgân yn awr yn yr enaid!

Ail-unwyd teuluoëdd! daeth awr ymgyfarfod
Tu draw i gylch amser, yn nhrigfan y Duwdod,
A threiddiodd ail-fywyd trwy ddyffryn marwolaeth,
Ac angeu a lyncwyd mewn llwyr fuddugoliaeth!
Y meirw godasant yn gyrff heirdd, ysbrydol,
A llyncwyd gan fywyd y cyfan oedd farwol!
Ail-unwyd pob enaid â'i gorff byw, ysblenydd,
Ac iechyd cerubiaid a fedda'n dragywydd!

Hoff eglwys y Duwdod! bydd gwrid Anfarwoldeb
Am oesau diddarfod yn gwrido eu gwyneb!
Yr hyn yn flaenorol oedd ddyrys, aneglur,
Ddeallir yn hollol mewn llewyrch nefolbur;
Mae'r Iesu'n deongli'r efengyl rasusol
Yn nhanbaid oleuni yr Ysbryd Santeiddiol;
Ac eglur ganfydda'r buddugol dyrfaoedd,
Ar seddau orwyna' yn haulddydd y nefoedd,
I'w heinioes flodeuo drwy raslawn ddoethineb,
I hawddfyd didreio a chlaer Anfarwoldeb!

O! flodau anfarwol, nefolaidd drigolion,
Lanhawyd drwy ddwyfol haeddianau y Cyfion,
Fel nad ydyw olion archollion eu pechod
Yn llechu yn eigion cuddfanau 'u cydwybod!

Hedd-gymod ehelaeth drwy aberth cyfreithlon,
Yw clir ymwybyddiaeth parhaol duwiolion;
A gwel'd y Gwaredydd yn wyneb yn wyneb
Yw hanfod llawenydd eu tirf Anfarwoldeb!

Angylion nef-burdeb! O! fel yr ehedant
O blaned i blaned yn awyr gogoniant;
Anfarwol y chwaon, anfarwol y wybren,
Anfarwol belydron sy'n eiddo pob seren;
Anfarwol y meusydd, y blodau a'r llwyni,
Cyfanfyd byth-newydd mewn mor o oleuni,
A'r gloewon gerubiaid mewn santaidd ddysgleirdeb,
Dywynant yn danbaid fel ser Anfarwoldeb!
Mor bêr cyd-ganasant pan gododd y bydoedd
I fyny mewn urddiant o'r tryblith ddyfnderoedd;
A gwasanaethasant yr orsedd anfeidrol
Drwy droion diseibiant y cyfnod daearol;
Er hyn ni heneiddiodd eu hieuanc edrychiad
Un mymryn er adeg bellenig eu cread!
Ni phylodd eu llygaid, ni wywodd eu gruddiau,
Ni theimlant yn ddibaid un blinder a phoenau;
Ond hoenus wisgasant eu didranc ddwyfoldeb,
A bythol-flodeuant yn haf Anfarwoldeb!

Trugaredd y nefoedd! ymdaena'th adenydd
Cysgodol am enyd uwchben yr awenydd,

Tra'n gwylaidd ddynesu i wyddfod yr orsedd,
Lle'r eistedd y Duw digreuedig mewn mawredd;
Yr hwn sydd yn meddu ar *wir* Anfarwoldeb,
Heb ddechreu na diwedd i'w ryfedd ddysgleirdeb!

Fel trig y goleuni yn mynwes yr huan,
Neu'r tonau yn ngwely y cefnfor mawr, llydan,
Y trig Anfarwoldeb yn natur y Creydd
Drwy'r maith dragwyddoldeb diwyro, dihysbydd.

Nid yw ond deilliedig i'r cerub a'r angel,
A phob bod creuedig drwy'r cread aruchel,
Ond Duwdod a'i piau, mae'n eiddo fyth iddo,
Mae'n nofio'n ei hanfod fel mor yn ddidreio!

O bob priodoledd a fedd yr Anfeidrol,
Ei wir Anfarwoldeb yw'r mwyaf *sylfaenol;*
Yr unig feddianydd ar hunan-fodolaeth,
Creawdydd, cynalydd yr holl greadigaeth,
Cynllunydd, perffeithydd y trefniant oll-rasol,
A roddodd i'r eglwys y palmwydd buddugol!
Yr hon o'i ewyllys gyfrana oludoedd
Ei bur Anfarwoldeb i'r nefol dyrfaoedd!

O! cenwch nefolion, angylion a seintiau,
Cyweiriwch yn dynion aur-danau'ch telynau,
Uchelach ehedwch ar danau y graddau,
Cyraeddwch gyweirnod melusa'ch anthemau,
Fel byddo'r clodforedd yn toni'n for cerddgar
O hoenus orfoledd drwy'r nefoedd orlachar,
I'r Tad, Mab ac Ysbryd—i Dduw tragwyddoldeb,
Am glaer Anfarwoldeb yn ngwynfyd ei wyneb!

# *Y MAYFLOWER,*

## *Y Llong Ymfudol a Gludodd y Tadau Pererinol dros y Werydd yn* 1620, *ac a'u Glaniodd ar Plymouth Rock.*

---

### DYFYNIAD O'R FEIRNIADAETH.

*John Robinson.*—"Hawdd meddwl oddiwrth gynllun mor eheleth fod yr awdwr wedi talu sylw neillduol i'r pwnc o'i flaen;" ac wedi dyfynu o'r bryddest, dywed: "Fel hyn yn hededog, cynyrfawl ac awenyddol iawn yr ä John Robinson yn mlaen o'r dechreu i'r diwedd. Darlunia eryr yn rhyw fan o'i bryddest. Eryr ydyw yntau – eryr awenyddol mwy mawreddog ei ehedfa a mwy llydanled ei esgyll nag y cawn y fraint o'i weled ond pur anaml y blynyddau hyn. Fel awenydd, mewn llithrigrwydd barddonol, ac yn enwedig mewn gallu darluniadol, fe ragora John Robinson ar John Alden. Plentyn natur drwyddo oll ydyw John Robinson.—*Y Parch. J. G. Jones.*

Creawdwr y bydoedd a Thad pob daioni,
Ffynonell dragwyddol pob dysg a goleuni,
Eneinia fy meddwl pwl, anmhur ac egwan,
A dysg imi lwybrau doethineb ei hunan.
Dirym yw y meddwl ac oerllyd yw'r galon,
Mae ffyrdd dy Ragluniaeth i bryfyn yn ddyfnion!
Goleua y meddwl a thania yr enaid,
Cyfrana i'r awen athrylith seraffiaid!
Cyfoda y lleni—amlyga dy lwybrau
I'r meddwl ymchwilgar, yn uniawn a golau:

O! anfon dy angel â santaidd farworyn
I gyffwrdd a'm hawen, ac yna caiff esgyn
I fryn ysbrydoliaeth—bryn uchel, bryn dwyfol,
Lle mae yr Awenau'n perori'n oesoesol!
Claer fryn ysbrydoliaeth, O! caffed fy awen
Eisteddfa aruchel uwch niwloedd daearen
Ar un o'th glogwyni, i foli'n orgynes
Y Penllywodraethwr mewn odlau per hanes!

O! caned y ddaear—yr Ior sy'n llywyddu,
Er fod breniniaethau fel tonau'n terfysgu!
Byth, byth yn terfysgu fel tonau yr eigion,
Yn damsang yn llidiog eneidiau duwiolion!
Ond Ah! yn y diwedd, yn chwalu'n dragwyddol
Yn erbyn bwriadau diwrthdro'r Anfeidrol.
O! cenwch, dduwiolion—cynlluniau'r Goruchaf
Gyfodant i fyny o'r caddug erchyllaf
Mor glaer, mor berffeithiol ag heuliau newyddion,
Oll yn cerddori drwy'r gloewon uchelion!

Bu erledigaeth fel ellylles anwar
Yn crwydro'n waedlyd gynt drwy Brydain lachar;
Crefyddol ryddid welwyd ar ei therfyn
Yn wylo'n brudd wrth droi i'r byd yn grwydryn;
A llawer enaid duwiol, *Puritanaidd*,
A yrwyd drwy y tân i'r nefoedd euraidd,
A berwai'r wlad o lan i lan fel cefnfor
Pan yra y tymestloedd drosto'n ddidor!

Yn awr yr erledigaeth, nid oedd lloches
I Buritan i'w gael yn Mhrydain eres,
*Egwyddor gaeth Pabyddiaeth* yn teyrnasu,
Egwyddor greulawn, ddu, mor ddu a'r fagddu;
A nofiodd llawer gweddi dros ei dagrau
I'r nefoedd fry am iawnder dyn a'i freiniau!

Eisteddai'r Anfeidrol fry, fry ar ei orsedd,
A goruwch-lywyddai pob gormes, pob trosedd,
Costrelai y dagrau, gwrandawai'r gweddiau,
Ac O! erbyn heddyw mae'r cynllun yn olau!

Y mae'r erledigaeth yn taflu'r goreuon
A fedda yr Arglwydd i'r amlwg yn gyson,
Mae ef yn bwriadu anrhegu'r Amerig
A dethol eneidiau yr Ynys Brydeinig;
Er myned i Holland am nodded a chysgod,
Am ryddid addoli yn ol eu cydwybod,
Ac yno blodeuo'n llwyddianus am flwyddi,
Rhaid eilwaith oedd cychwyn dros donau y weilgi.

A! wele'r Mayflower yn nofio yn unig,
A'i gwyneb yn uniawn ar diroedd Amerig.
Dychwelodd y Speedwell yn ol, fel pe'n ofni
Cynddaredd yr eigion, y fordaith a'i chyni!
Bu'n ffyddlawn i gludo'r ymfudwyr dewrgalon
Yn fwyn o Dafthaven nes cyraedd Southampton,
Ac er fod ei bwriad i groesi y Werydd
Yn nghwmni'r M[illegible]r i draethau'r Byd Newydd,

Hi gollodd ei dewrder—ca'dd arswyd yr eigion,
Dychwelodd i Plymouth yn ofnus ei chalon!
Ond wele'r Mayflower yn meddu ar ddewrder,
Ar ddewrder y Cristion i ymladd a'r dyfnder;
Rhyw gant o eneidiau yn llawn ffydd a gobaith
Yn cychwyn yn wrol i'r fordaith bell, hirfaith,
Anturio'n ddewrfrydig i ferw y tonau,
Heb ofni llidiogrwydd creulonau'r elfenau!

Cân, cân, O! fy awen, os llong yw y testyn,
Mae'n cynwys dewisol drysorau y Brenin.
Os eiddil ei ffurfiad ac os syml ei hagwedd,
Os yw yn amddifad o wladol rwysgfawredd,
Os nad yw ei hwyliau mor deg a'r goleuni,
Os nad yw'n ymddangos fel duwies ar gefnlli',
Os nad yw'r magnelau'n taranu ei hurddas
Pan mae yn mordwyo i'r cefnfor mawr gwyrddlas,
Mae rhyddid crefyddol a gwladol yn hedfan
O gwmpas ei llwybrau fel dau gerub purlan,
A llynges ysblenydd o engyl y wynfa
Yn gwylio'r ymfudlong yn awr ar ei gyrfa!

Mae iddi ogoniant cuddiedig, godidog,
Claer hedyn gogoniant Americ fawreddog;
Mae iddi ogoniant cuddiedig ysbrydol,
A byla'n dragwyddol ogoniant daearol!
Mae iddi ogoniant fel mor o oleuni,
Gogoniant y wawrddydd cyn iddi ymdori,
Gogoniant cuddiedig cynlluniau'r Anfeidrol

Cyn iddynt ymddangos yn amlwg i'r dynol!
Ychydig pryd hyny feddyliai y gwledydd
Fod *Gwerinlywodraeth* mewn llong ar y Werydd!

Y mae dygwyddiadau gorwychaf bob amser
Yn dechreu yn isel—yn codi o'r dyfnder;
Bu'r dderwen yn fesen, a'r haul yn farworyn,
Bu'r ser yn belydrau draw, draw yn y cychwyn;
Bu'r afon yn ffrydlif—bu'r cefnfor yn fychan,
*Bu'r eryr mawreddog yn methu a hedfan!*
Bu Mab Duw ei hunan dan len yn mro amser!
*Bu'n Gwerinlywodraeth mewn llong ar y dyfnder!*

Mwyn, mwyn yw mis Medi—yr eigion yn cysgu,
Y nefoedd lasolau uwchben yn pelydru,
A'r awel, falm dyner, fel anadl angel
Yn suo y tonau i gysgu'n fwy tawel;
A'r llong megys alarch yn marchog yr eigion
Yn araf ac esmwyth, heb ofni'r peryglon;
A Phrydain hwnt, hwnt yn y pellder anamlwg,
Yn araf, yn araf ddiflanu o'r golwg;
A'r llong yn prysuro yn mhellach i'r eigion,
A thristyd a hiraeth yn llanw pob calon!
A braidd nad yw'r creigiau hyd heddyw yn adsain
Y broddau canlynol yn mro Ynys Brydain:

"Yn iach i ti, Brydain, ein gwlad enedigol,
Gwynebwn y cefnfor am ryddid crefyddol!
Yn iach i dy froydd, yn iach i dy

Lle mae yr awelon yn pyncio anthemau!
Bu'r galon addolgar o'th fewn yn hiraethu
Am ryddid fel eiddo dy chwaon i ganu!
Bu'r galon addolgar o'th fewn yn gweddio
Am ryddid fel eiddo dy adar i byncio!
Rhydd, rhydd yw dy chwaon, a rhydd yw dy adar,
A rhyddion yw'th nentydd i lifo'n furmurgar!
Ond eto, ymdrechi ormesu cydwybod
A freintiwyd â rhyddid uchelaf y Duwdod!
Er hyn ein serchiadau a lifant fel tonau
Yn awr wrth ymadael, yn ol at dy lanau!
A thra byddo huan uwchben yn tywynu,
Boed crefydd yr Iesu o'th fewn yn serenu!
A buan caed rhyddid crefyddol ymdoni
Drwy Brydain flodeuog mor helaeth a'r weilgi!"

O! long bererinol! a gaf fi dy ganlyn
O waneg i waneg nes cyraedd y terfyn!
Braidd nad wyf yn tybied mai hwyl-long nefolaidd
Wyt ti ar dy fordaith i'r fro baradwysaidd!
Ni fu yn mordwyo erioed ar y Werydd
Hwyl-long mor ddiaddurn a llwythog o grefydd!
Mor eiddil, mor nerthol, mor ddibwys, mor bwysig,
*Mae'r nerth a'r pwysigrwydd fel Duw'n anweledig!*
Dos rhagot, dos rhagot, ti elli anturio,
Rhy werthfawr yw'th drysor i'w adael i suddo!
Mae'r Ior yn dy wylio; yn ddiau mae'th fordaith
Fel gwawl-lwybr golau yn nghynllun yr arfaeth!

Mi gerddais i'r morfa un nawnddydd teg, hafaidd,
A phigais im' gragen o'r tywod mân, euraidd!
Mor felus oedd cerdded a gwrando'n ddiflino
Ar ysbryd y cefnfor o'i mewn yn dyruo!
Mi glywais, mi dybiaf, ddolefau pruddglwyfus
Tyrfaoedd yn suddo i'r llynclyn ystormus!
Mi glywais y tonau'n cystadlu a'u gilydd
Fel pe am flaenori i gyraedd y creigydd,
Ac adsain olafnod caniadau tyrfaoedd
Ymfudent o'u gwledydd yn mhell dros y moroedd!

Mi wela'r Mayflower yn nofio yn hyfryd
Fel darlun o'r eglwys ar gefnfor mawr bywyd,
Ac ynddi mi glywaf fel adswn mewn cragen
Yr eglwys yn cwynfan yn bruddaidd ei hacen
Mewn marwol erlidiau—rhy erchyll i'w henwi
Heb glwyfo y galon a wylo yn heli!
Ac ynddi mi glywaf weddiau yr eglwys,
Gweddiau ddystawent delynau paradwys,
Gweddiau taer, gwresog am ryddid crefyddol,
Yn llwythog o ysbryd—yn trechu'r Anfeidrol!

Hoff deithwyr bendigaid, anwyliaid y nefoedd,
Mewn bychan gwch eiddil yn mhell ar y moroedd!
O! for, ymlonydda, darfydded dy dwrw,
A dofa gynddaredd egniol dy lanw!
Ymorphwys yn esmwyth, ymddyga'n rasusol,
At dirion addolwyr dy Grëydd Anfeidrol!
Paid, paid ag amlygu digofaint dy galon,

A'th natur fradwrus, gynenus a chreulon!
Os oes yn dy fynwes ystormus, aruthrol,
Diriondeb a mwynder yn nofio yn swynol,
Os ydwyt yn medru cydnabod gwir deimlad,
A thalu gwarogaeth i rin ac i gariad,
Os ydwyt yn ffafrio yr EGLWYS FILWRUS
Pan mae'n dygwydd marchog dy eigion cynyrfus,
Os ydyw dy donau yn dirnad drwy brofiad
Beth yw ymgymysgu mewn gwir gydymdeimlad,
Os medri drwy ymdrech, ymatal am dymor
Wylltineb dychrynllyd ystormydd y cefnfor!

Chwi wyntoedd y nefoedd, na yrwch yn arw
Tra byddo'r Mayflower yn nofio'r ymferw;
Ond byddwch yn ffafriol, anadlwch yn dirion,
A rhoddwch hûn esmwyth a hirfaith i'r eigion,
Prysurwch yn ddystaw drwy gonglau'r mynydd-
oedd,
A pheidiwch udganu i'r maes y corwyntoedd!
Chwi hafaidd awelon, chwareuwch yn dyner,
Fel chwaon paradwys, yn faws dros y dyfnfor,
I hwylio'r Mayflower dros donau y Werydd
Fel dwyfol gwch dedwydd i lanau'r Byd Newydd!

Os teg fu'r fordaith pan yn cychwyn allan,
Y gwynt yn fwyn a'r mor fel llyn o arian,
Tyngedfen hefyd fel pe'n gwenu'n siriol,
A'r mor yn addaw bod yn hynod ffafriol,
Elfenau anian fel pe yn cyduno

I yru'r hwyl-long rhagddi yn ddidaro;
Os dyna fel y bu nes cyraedd allan
Yn mhell o dir, hwnt, hwnt i'r cefnfor llydan,
Twyllodrus yw y cefnfor—ofer hollol
Yw ceisio ffafrau gan y dyfnder uthrol!
Twyllodrus yw y cefnfor—mae yn gwenu
Pan fyddo marwol storm o'i fewn yn llechu!
Mae'n gwisgo gwên a'i galon fawr yn llidiog,
Os cysgu wna, deffroa yn gynddeiriog!

Ac O! mae'n ddeffro weithian! clywch ei oergri
Fel cri ellyllgawr yn y gwae'n ymboeni!
Y gwynt yn rhuo fel pe b'ai taranau
Tragwyddol Ior yn gyru dros y tonau!
A'r eigion yn cynyrfu i'w ddyfnderoedd
O dan fflangellau trymion y corwyntoedd!
Mae ton yn marchog ton fel bryniau uthrol
Ysgubir ymaith gan ddaeargryn nerthol!
A'r nefoedd fawr gymylog fel yn disgyn
Yn nes i'r eigion, yntau'n ddidor esgyn
Nes yw y tonau a'r cymylau gwgus
Yn ysgwyd dwylaw yn y storm arswydus!
Ac O! mae'r llong ar war y mor cynddeiriog,
A'r tonau yn ei hyrddio'n annhrugarog!
I'r lan, i lawr, ac weithiau'n cael ei chladdu
Am enyd yn y dyfnder, eilwaith dyrchu
I frig y don, fel pe b'ai nerth *cuddiedig*
Byth yn ei dal ar gribau'r tonau ffyrnig!

Mae'r dymestl yn parhau am ddyddiau lawer,
A'r llong yn ddiymadferth ar y dyfnder,
Y gwynt yn chwythu'n gryf a'r tonau'n enbyd,
A'r teithwyr oll yn ofni'r beddrod dyfrllyd!
Y dymestl yn chwilfriwio yr hwylbreni,
A'r cefnfor garw'n cyson gynddeiriogi;
O! deimlad torcalonus—tonau'n llifo
I mewn i'r llong, a gobaith pawb yn suddo!

Pa feddwl all beidio cydmaru'r olygfa
A gawd yn Dafthaven cyn dechreu yr yrfa,
A'r hon a geir weithian ar ganol yr eigion,
Lle cura'r ystormydd mor hirfaith, mor ddigllon!
Tra byddo'r Mayflower yn ymladd a'r gwyntoedd,
Yn brwydro â thonau digofus y moroedd;
Tra byddo y teithwyr mewn pryder a dychryn,
Yn dysgwyl bob eiliad gyfarfod a'u terfyn;
Yn dysgwyl i'r waneg angeuol i ddyfod
I suddo eu heiddil-long ddrylliog i'r gwaelod!
O swn y caledi, ehed, O! fy awen,
Yn ol dros yr eigion i borthladd Dafthaven.

O! borthladd clyd, swynol, bytholwyd dy enw
Y dydd y mordwyodd y Speedwell dy lanw,
Dydd teg, bythgofiadwy—dydd hynod, dydd rhyfedd,
Dydd cychwyn y fordaith yn brudd mewn tangnefedd,
Dydd dryllio y teimlad, dydd clwyfo y galon,

Dydd pruddaidd ffarwelio a'u cydbererinion!
A phwy all ddarlunio teimladau yr eglwys
Pan yn ymwahanu nes cyraedd paradwys?

Mi welais ddwy wyryf, dwy chwaer dynergalon,
Gydfagwyd yn anwyl, fu'n sugno'r un ddwyfron,
Un dydd yn y porthladd yn gorfod ymadaw,
Er hiraeth, er cariad, ac ochain a wylaw!
Ac ynddynt ce's ddarlun o eglwys frwd Leyden
Pan oedd yn ymranu yn mhorthladd Dafthaven!
Mawr hiraeth a galar fel tonau trist dwysion,
Yn curo'n aflonydd o galon i galon!
Ond balm cydymdeimlad a daflai ryw londer
Ysbrydol i'r fynwes er gwaethaf pob prudd-der;
Ac yna'r gweinidog urddasol a duwiol
Gyfodai ei olwg at sedd yr Anfeidrol;
Ei lais ef yn unig glybuwyd yn erfyn,
Ond O! yr oedd torf o weddiau yn esgyn!
Cyflwynai i ofal y Duw Hollalluog
Y dyrfa cyn cychwyn i'r fordaith dymestlog!
Erfyniai am iddo eu cadw'n ddilychwyn
Drwy ddyrys daith bywyd nes cyraedd y terfyn,
Am iddo eu gwneuthur yn fendith arbenig
I grefydd a moesau cyfandir Amerig.

Ond wele hwynt weithian ar ganol y weilgi
Yn dirfawr bryderu mai 'u tynged fydd soddi!
Heb falm cydymdeimlad—y mor yn ystormus,
Y gwynt yn ddidostur a'r nefoedd yn wgus,

A'r llong yn ymddryllio, yn crynu yn enbyd
Dan drymion ergydion y tonau dychrynllyd!

Beth am y gweddiau? A aethant yn ofer?
A yw y Mayflower i suddo i'r dyfnder?
A ydyw y teithwyr, eneidiau puredig,
I fyned yn aberth i'r eigion mawreddig?
A ydyw amcanion bendithiol y nefoedd
I'w dymchwel yn drwyadl gan ddigter tymestl-
oedd?
O! na, y mae'r Arglwydd yn gwylio yn graffus
Y llong yn ymfrwydro a'r eigion peryglus!
Mae'n mesur pob gwaneg a phwyso pob ergyd,
Mae'n mesur grymusder pob corwynt mawr enbyd,
Ac er fod y fordaith i'r teithwyr yn arw,
Ni chollir un teithiwr er maint yr ymferw!
Mae'r llong yn fywydfad, os drylliog ei hagwedd,
Bywydfad diogel i arfaeth y Mawredd!

Er hyn y mae dewrder y morwyr yn pallu,
A gobaith dysgleiriaf y teithwyr yn pylu,
Y llong wedi dryllio a hwythau yn methu
Cyweirio'r drylliadau er arfer pob gallu;
A chydymgyngorant ai doeth yw dychwelyd,
Os medrant, i Brydain, ac arbed pob bywyd;
Ond rhywsut, yn ffodus, fe gafwyd offeryn
Gan deithiwr i ateb y pwrpas i'r mymryn!
Cyweiriwyd y drylliau, nertholwyd pob calon,
Ac ail-benderfynwyd i groesi yr eigion;

Ychydig feddyliai y teithiwr wrth gychwyn
Fod amcan mor uchel i'w ddistadl offeryn,
A syned doethineb fod dwyfol gynlluniau
*Fel pe'n ymddibynu ar ddynol ddamweiniau!*

Aeth heibio am ysbaid guriadau'r ystormydd,
A gosteg deyrnasa ar donau y Werydd!
A chiliodd y cymyl trwmlwythog a duon
Tu draw i'r terfyngylch fel byddin annhirion,
Ac anhawdd dyfalu pa un ai y Werydd
Ai glesni'r ffurfafen sydd fwyaf ysblenydd!
Mae glesni y cefnfor a glesni'r eangder
Fel pe'n ymgystadlu mewn harddwch a cheinder,
A'r tonau chwarëus yn dawnsio a chanu
O gylch y Mayflower mewn llonder hoenusgu!
Pob ton ieuanc, nwyfus, yn chwerthin yn dirion,
Fel pe b'ai llawenydd yn llanw ei chalon,
A'r cymyl clir-ysgeifn yn nofio'r ffurfafen
Fel edyn angelaidd, yn hoenus a llawen,
A'r haul gogoneddus yn gwenu mor siriol
A'r dydd y daeth allan dan law yr Anfeidrol;
Ei danbaid belydrau mewn lliwiau amryliw
Yn dawnsio ar wyneb y tonau arianliw;
A hwyliau'r Mayflower o dan eu tywyniad
Yn taflu adlewyrch mor deg braidd a'r lleuad!
Gorfoledd godidog fel hyn yn ehedeg
O lasdon i lasdon, o waneg i waneg,
O gwmwl i gwmwl, o'r mor i'r eangd
Nes toni fel diluw o fawl drwy'

Pa grebwyll ddarlunia y mawl a'r llawenydd,
Yr ysbryd diolchgar, adlonol, ysblenydd,
Yn awr a ddylifant ar fwrdd y llong eres,
Dylifant fel tonau o fynwes i fynwes;
Pob calon yn llamu, pob gwên yn serenu,
A gobaith mor danbaid a'r haul yn tywynu!
A moliant y dyrfa yn esgyn yn ebrwydd
Yn anthem soniarus i fyny i'r Arglwydd,
Yn llawn mor naturiol ag ydyw pelydrau
Yr huan yn esgyn i'w fynwes glaerolau.

Pa awen ddesgrifia y decaf olygfa
Ymdaena yr hwyrddydd o'u blaen megys gwynfa?
Y cefnfor yn dawel, awelon yn suo,
A'r hwyrddydd yn nefol, a'r haul yn machludo,
A'r teithwyr yn syllu mewn clodus edmygedd
Ar wir arucheledd o'u hamgylch yn gorwedd
Fel byd o oleuni yr haul sydd yn symud
Dros lethrau y tonau rhamantus i fachlud,
Gan adael gogoniant ar wyneb y dyfnder
I roesaw dyfodiad y lloer i'r uchelder!
Y lleuad deg, wylaidd, brenines yr eigion,
Mae'n gallu rheoli teimladau ei galon!

Mae'n deall ei anian, yn adwaen ei natur,
Mae'n medru meistroli ei nwydau didostur!
Ac wele mae'n teithio ei gyrfa ysblenydd
Mor weddaidd a banon drwy'r prydferth wybrenydd,

A'r ser fel morwynion o'i hamgylch yn lluoedd
Mor hawddgar a llygaid trugaredd y nefoedd,
A hithau'n ymddangos fel pe yn addoli
Ei delw yn ngloew-ddrych heirdd donau y weilgi!
Y mae yr olygfa'n ddeniadol a hawddgar;
Ond wele un arall mwy dwyfol, mwy llachar—
Y teithwyr mewn gweddi yn ufudd benlinio
Ger bron eu Creawdwr cyn myned i huno.

Mae'r wawrddydd wyryfol yn chwareu ei hadain
Mewn harddwch nefolaidd ar dwr cain y dwyrain,
Gan ymlid cymylau y nos o'r ffurfafen,
Ac arllwys goleuni ar daen drwy yr wybren;
A thonau arddunol yr eigion yn chwarau
Mewn lliwiau enillgar o dan ei phelydrau;
Ac wele yn canlyn yr huan mawr eres,
Gan sugno y wawrddydd fel geneth i'w fynwes;
A'r lloer yn neillduo, a'r ser yn ei chwmni,
Yn gadael ei gorsedd yn wyl i'w fawrhydi;
A thonau y Werydd yn awr ymddangosant
Fel bryniau symudol mewn tanllyd ogoniant!
Y cefnfor, yr huan, yr wybren ddysgleiriol
Yn pêr gyd-ddyrchafu eu moliant boreuol,
A'r teithwyr yn uno i chwyddo y gydgan
Yn folawd llifeiriol a llon drwy'r pedryfan,
A'r llong yn mordwyo yn debyg i Obaith
Ar gefnfor mawr bywyd i'r daith ddyrys, hirfaith.

Nid yw y tawelwch yn para yn hirfaith,
Tymestlog [illegible] daith;

Nid yw y tawelwch yn amgen na seiniau
Cerddorol yn dianc rhwng trystfawr daranau!
Un felus don nefol, ac yna twrf taran
Yn ysgwyd colofnau cadarngryf pedryfan!
Rhyw ddydd o dawelwch i fwydo fflam gobaith
Y teithwyr rhag hollol ddiffoddi ar unwaith,
Ac yna ystorom nes crynu pob calon,
Ac ofnau'n dylifo i'r fynwes fel afon!
A'r cymyl bygythiol yn crwydro'r eangder,
A'r gwyntoedd digofus yn marchog y dyfnder,
A'r llong yn ymforio o ferw i ferw,
O dymestl i dymestl ar draws y mawr lanw?
O! fordaith helbulus! ymfrwydro am fisoedd
A chyfres gyndynus o erwin dymestloedd;
Ymfrwydro a'r gwyntoedd, ymfrwydro a'r eigion,
Ymfrwydro ag ofnau pruddglwyfus y galon!
A llawer mwy garw na thonau y cefnfor
Yw'r mewnol ystormydd a gurant yn ddidor,
Ystormydd ofnadwy yn tramwy yn ddibaid,
Drwy orddyfnderoedd gwaelodion yr enaid;
Ystormydd yn ysgwyd y meddwl cadarnaf,
Fel ysgwyd daeargryn y bryniau'r dydd olaf!
Ystormydd dichellgar a'u bryd ar ddiffoddi
Pob hyder, pob gobaith, pob dawn a goleuni;
Ond gobaith y teithwyr *fynychaf* yn 'hedeg
Fel dwyfol aderyn uwch cribau pob gwaneg,
A'r teithwyr yn dyrchu ar edyn eu gobaith,
Uwchlaw holl ofidiau trafferthus y fordaith,

Mordwyo'n helbulus o wythnos i wythnos,
Nes dysgwyl o'r diwedd fod glanio yn agos ;
A llawer i dremiad hiraethus, llawn pryder,
A daflwyd i edrych am dir yn y pellder ;
Ac wele yn araf, fel cwmwl yn codi
Gyfandir Americ tu draw i'r mor heli!
Y llong yn mordwyo, y lan yn dynesu,
Eneidiau y teithwyr mewn llonder yn canu,
Yn canu wrth gofio y fordaith flinderus,
Y gwyntoedd ysgubol, y cefnfor ystormus,
Yn canu'n ddiolchgar am nodded y nefoedd
Tra buont yn hwylio drwy gwrs o dymestloedd;
Ond eto nid ydynt yn ddyeithr i bryder,
*Ceir gofid i ganlyn gofidiau y dyfnder!*
Nid oes ganddynt obaith am weled un gwyneb
Ar ol iddynt dirio, yn gwisgo sirioldeb;
Cyfandir godidog o'u blaen yn eangu,
Ond marwol elynion o'i fewn yn trigianu!

O! syllwch ar yr hwyl-long yn morio ar y lli,
Ac olion llawer tymestl gref sydd ar ei hagwedd hi;
Mae'n debyg i bererin lluddedig, llesg a gwan,
Yn nofio'n araf yn y blaen mewn hiraeth am y lan;
Y mor yn erwin eto, a'r tonau'n gwaeddi'n groch,
A rhwng y llong a'r creigiau draw mae llawer tym-
estl ffr[illegible]
Y gwynt y[illegible] [illegible]g a llawer teithiwr sydd
Yn crynu [illegible] yn llwydaidd iawn ei

Ac aml i ddynes welwyd a'i baban ar ei bron
Yn crynu yn yr hinsawdd oer fel cwch ar war y don!

Pa le, pa le ceir glanio? pa bryd ceir myn'd i dir?
Mae'r gwyntoedd yn cyhoeddi'n awr, "Daw'r gauaf cyn bo hir!"
Blin, blin yw pawb o'r teithwyr, blin gan y fordaith faith,
Ac oerni gauaf eto sydd o'u blaen yn drymaidd ffaith;
Ond O! pa bryd ceir gadael digofus donau'r aig?
Pa bryd ceir bwthyn dedwydd clyd mewn gallt neu gysgod craig?
Mae'r galon bron a llethu a natur yn llesgâu,
A llawer gwyneb hawddgar gynt i'w ganfod yn pruddhau!
Mae'r lan i'w gwel'd yn amlwg! gwel acw'r creigiau serth,
A'r eryr hyf o'u cwmpas hwy yn hedfan yn ei nerth,
Yn hedfan megys proffwyd gan bwyntio amser gwell,
A blaen ei aden gadarn fawr yn y dyfodol pell!
Mae'r dorf yn syllu arno, ond O! ni wyddant hwy
Fod Duw'n bwriadu drwyddynt oll greu *eryr* llawer mwy—
Yr ERYR AMERICAIDD—yr eryr 'n awr y sydd
Yn lledu ei ddwy aden gref dros ran mor f byd!

Mae'r lan i'w gwel'd yn amlwg, ond glan mor oer
a'r mor,
Heb gyfaill idd eu derbyn draw, heb nawdd ond
nodded Ior!
Mae'r angor wedi ei daflu! a thra bo llong ar don,
Bydd *Cape Cod Bay* mewn coffa teg fel eu hang-
orfa lon!

O! Hudson hardd, fawreddog, ni chefaist di'r
mwynhad,
Yn ol rhagdrefn y teithwyr hoff i'w derbyn mewn
mawrhad;
Ond ffyddlawn wynt y nefoedd oedd yn ei gyru hi
I *Cape Cod Bay*, o'u hanfodd hwy, yn ol bwriad-
au Rhi!

Mae'r angor wedi ei daflu, y creigiau fel mewn
braw,
Fel yn ymaflyd yn y tir er taflu'r tonau draw;
A'r llong ar war y cefnfor yn bruddaidd iawn ei
gwedd,
Fel bywyd wedi dianc braidd o ogofau y bedd;
Mae'r llong ar war y cefnfor fel antur-long a
ddaeth,
Fel pe dros for marwolaeth erch yn llesg i ben ei
thaith!

[illegible]di ei daflu, mae'r dorf yn dod yn
[illegible]wr llywodraeth wycha'r byd!

John Carver, Brewster, Standish a Bradford, gwyr a fydd
Mewn adgof uwch bro anghof dwfn nes gwawria'r olaf ddydd!
Maent hwy a'r oll o'r teithwyr yn ngwydd y creigiau hy',
Yn ngwydd y tonau brigwyn, heirdd, yn ngwydd y nefoedd fry,
Yn gosod 'lawr egwyddor yn sail llywodraeth gref,
Egwyddor fawr Werinol ddaeth i'w bwriad hwy o'r nef,
Ac ar y sylfaen hono y mae llywodraeth fawr,
Eryraidd, wemp Americ wech yn cadarn sefyll 'n awr.

Mae'r llong ar draws y mor yn chwilio'n gyson
Am gilfach teg a glan i lanio'n union;
Mordwyo'n ol a blaen, a dysgwyl wnelynt
Fod natur wedi trefnu porthladd iddynt!
Er dyfal chwilio, methu canfod goror
Fanteisiol i ymadaw'n rhwydd a'r cefnfor,
A gerwin iawn yw'r mor, y tonau'n hyrddiog,
Y naill yn llyncu'r llall fel pe'n gynddeiriog;
Fel pe yn bygwth mewn cynddaredd eto
Draflyncu'r llong pan mae mor agos glanio!

O! eigion, cywilyddia. Oni elli
Hyfforddio am ychydig ymlonyddu,
Tra bo'r Mayflower ar y creigiau acw

Yn taflu i'r cyfandir ysbryd hoew ?
Anfarwol ysbryd fydd yn enaid iddo,
Tra byddo y Niagara fawr yn rhuo.

Mae'r llong ar draws y mor yn chwilio'n gyson
Am gilfach teg a glan er tirio'n union,
Ac wele fad, ac ynddo Standish feiddgar,
A chwech o wyr, yn rhwyfo yn ymdrechgar
I'r glanau draw, a dyna hwynt yn sangu
Yn hoenus iawn hwnt ar y tir anwylgu ;
Ond oerllyd yw eu croesaw—gwynt y gaua'
Sydd yn eu derbyn gyda'u gusan eira ;
Yr eang dir yn llwm, a'r gwigoedd noethion
Yn wylo'n brudd ar ol yr haf a'i swynion,
A'r cangau preiff fel pe mewn dyfal weddi
Am ryw dragwyddol haf i guddio'u noethni ;
A'r saith ysbiwr drwy yr oerni'n crwydro
Am fan cyfleus i ddechreu bywyd ynddo ;
Ond eilwaith yn dychwelyd, wedi methu
Darganfod lle cyfleus i'r dorf sefydlu.

Ymgrwydro ar y mor, a thorf ar brydiau
I'r tir yn myned er archwilio'r glanau ;
Dychwelyd eilwaith, yna morio wed'yn
Drwy'r gwynt a'r oerni ar y tonau brigwyn,
Nes [illegible] y diwedd hwylio'n deg gyferbyn
A [illegible] *Rock*—y graig oedd fel yn estyn
[illegible], fel pe'n falch i'w derbyn !

Mae'r llong yn wag! mae wedi taflu ei thrysor
Yn iach i dir er gwaethaf llid y cefnfor!
Tra llong yn nofio'r lli', tra gwynt yn chwythu,
Tra ton ar draws y cefnfor mawr yn gyru,
Tra lloer a ser, tra fyddo huan gloew,
Tra mor a thir, tra trai yn canlyn llanw,
Tra baner glaer Americ yn cwhwfan,
Tra'r Andes ar ei sail, tra byddo anian,
Tra enwau llongau yn y cof yn nghadw,
Bydd parchus goffa am ei thirion enw!
Blodeuyn Mai—na, Rhosyn Anfarwoldeb
Yw enw Y Mayflower hoff i'n Hundeb!
Yn iach, anfarwol long! yn iach byth-bythoedd,
A bydded it' diriondeb mwyn â'r moroedd!

Yr Ior yn unig wyr beth ydyw gallu
Y dyrfa fechan acw sydd yn sangu
Ar glogwyn *Plymouth Rock*—hwynt-hwy yw hedyn
Y mawrwych bren sydd wedi tyfu'n sydyn,
Gan ledu ei gangenau ardderchoca'
O eithaf Maine hyd derfyn California!
Eu delw egwyddorol heddyw welir
Ar lywod-ddysg a chrefydd ein cyfandir.

# GWELLIANT GWALLAU.

---

*Argraffwyd y llinellau canlynol yn wallus :*

CERFDDELW BARTHOLDI.

Teg ar wyddiant a gwareiddiad.
Dena heulrod dynolryw.

Y MYFYR.

Wylia ei digel liwiad hygar.
O fro der ei fri y daeth.
Aeth o'i drum i'w fyth dre.
A'i *hael* galon anwylai ei Geli.
Fel i fôr y dwyfol fyd.

Y JEANNETTE.

Gwyl ei thro, gwelw ei threm.
Nawdd a nyth hon oedd i ni.

GWYBODAETH.

Eill dori ffull ei dewr ffydd.
Yw eginyn gogoniant.
Yn cu adeinio yr ieuanc dawnus.
A seinia ei hanesiaeth.

BRAU A GWIR ODIDOGRWYDD.

Ffawd gwyw y gwellt, er hoffed gwedd—y dyn,
    Yw ffawd ei ucheledd.

A oes byd uwch nos bodolaeth.
Draen mud yw i'r hwn a'i medd.
A'n gwir moesol yn enwog rymusant.
Trwy'n hoesoedd yn teyrnasu.
Gwir braint grar
Deuant oll

TWR LLUNDAIN.

Cload ei furiau cedyrn, clodforus.
Ond weithian i'r Sais twr *trais* tost a *rhysedd.*
—— ymelwent
A dieneidient Hen Brydain odiaeth.

YR EGLWYS.

Mae'n hoffi maws dawelwch dwfn y nos.
A lifa'n awr i'w tharddle.
Mewn noethni, enbydrwydd, mewn newyn ac eisiau.
A phob diystyrwch a gwawd-drem ddirmygus

ANFARWOLDEB.

Mae'i uchel sylwedd ef yn sylfaen gymwys.
Mewn ieithwedd amlwg, hynod hawdd i'w gwybod.
Yr Hwn o'i ewyllys gyfrana oludoedd.

# AMRYWION.

---

## *YR WYTHNOS GYNTAF.*

[A Duw a ddywedodd, Bydded goleuni, a goleuni a fu.—Beibl.]

Y newydd haul, ei lygad mawr agorodd
  Ar air yr Ior, yn nwyrain bwynt y nef;
O dan ei wawr y newydd fyd a wridodd,
  Gan dybied mai ei Grewr ydoedd ef.

Pryd hyn y gwyll ddeffrodd o'i ddwfngwsg oesol,
  Ysgydwai'i esgyll hir-ddu fel mewn braw;
Fel euog ciliai o'r eangder uthrol,
  A greddfol deimlai fod ei dduw gerllaw.

Torfeydd o ser am ronyn agorasent
  Eu hemrynt aur ar ei oleuni prid;
Ond fel cerubiaid eu hadenydd blygent
  Mewn ysbryd gwyl addoliad dros eu gwrid.

Y ddaear fu drwy chwildroadau'r tryblith,
  Am oesau'n dysgwyl yn y caddug trwch,
Ddarganfod gwyneb byw ei wawl-athrylith,
  A lawenychai yn ei lewyrch fflwch.

Estynai tonau'r dyfnder i'r uchelder
  I syllu mewn rhyfeddod ar ei ddawn,
A syrthiai'r naill oddiar y llall i'r dyfnder
  Wrth ddringo'u gilydd idd ei wel'd yn llawn.

Ymwthiai'r ddol ei phen uwchlaw'r llifogydd,
  A safai anian oll ar flaen ei throed ;
Edrychai'r bryniau dros ysgwyddau'u gilydd
  Ar ei ogoniant y tro cynta' erioed.

Pob dyffryn noeth a dol, pob bryn a mynydd
  O wely'r aig ymgodent oll i'r lan,
I'w gwisgo yn ei gynes wres ysblenydd,
  A gwyrddni teg a llysiau yn y man.

Y dyfroedd fel wrth sain peroriaeth donog,
  Dramwyai'n gerddgar i'w dragwyddol le ;
Anadlai'r sychdir yn y chwaon rhywiog,
  A'i drumau ymorseddent yn y ne'.

Y glaswellt darddent dan y ter oleuni,
  Fel gwenith ieuanc yn y gwanwyn ir ;
Ac amryw flodau o serenog dlysni,
  Addurnent arwynebedd tirf y tir.

Planigion pob eginyn dyfai'n wisgi,
  A difyr brofi'u nerth wnai'r awel hyf ;
Ac er eu llwytho'n ddifwlch a daioni,
  Troellai'r bel ar ei dau begwn cryf.

Yr haul a elai fel yn nes i'r ddaear,
  A chiliai'r tarth oedd rhyngddo ef a hon ;
A gwresog daflai drosti'i fantell lachar,
  A'r ddaear berlewygai ar ei fron.

Machludodd haul am ddyddiau rif y gwlithos,
  Mewn niwlog darth yn y cyfnodau hen;
Ond pan yn machlud wedi dod mor agos,
  Ysbeiliai'r ddaear o'i gwyryfol wên.

Tra'n brudd ei bron ar ol ei wedd yn wylo,
  Y lloer a'r ser, fel engyl cylchoedd gwell,
A ymddangosent, megys i'w chysuro
  A'u llewyrch gwyl, o'r nenau dwyfol, pell.

Dychwelai'r haul a'i wyneb yn ddwyfolach,
  Fel o gymdeithas heuliau uwch eu gwawr ;
Edrychai'r ddaear arno yn serchocach
  Nag er pan ddaeth o groth y tryblith mawr.

Trwy fyd llysieuol, creadigaeth arall
  O fywyd uwch chwareuent yn eu nawd ;
A'r haul oleuodd glaer ganwyllau'u deall
  A'i belydr bywiol ar ei eurog rawd.

[illegible]wrfil behemothaidd sangai'r dolydd,
  [illegible]hlygent yn ddyffrynoedd dan ei bwys ;
[illegible] lifai braidd yn ol i'r mynydd,
  [illegible]stynai yn ei dyfroedd glwys.

Y moroedd mawrion ferwent oll gan fywyd,
  A'r morfil fel agerlong holltai'r don ;
Ei ben fel clogwyn uwch y llanw enbyd,
  A'i disian wlychai rudd yr huan bron.

Y ddaear oedd fel planed boblog newydd,
  Yn chwilio'n ofer am ei brenin hardd,
I lanw yr odidog sedd ysblenydd
  Ar binacl gwyrdd y baradwysaidd ardd.

Y wawr ddadgloai gwrel-borth y dwyrain
  A'i hallwedd arian, fel ei harfer'n awr,
A'r haul wrth esgyn ar ei fflamllyd adain,
  Ddadguddiai DDYN yn llanw'r orsedd fawr.

Y seithfed dydd, mor orfoleddus ydoedd,
  Fe allai'r unig Sabboth eto fu,
Nad allodd Satan i gythryblu nefoedd
  Y gwir addolydd ar y ddaear gu !

---

## *Y GWAED.*

Ni chaed
Yn y cysgodau ail i'r Gwaed,
A'm gylch yn wyn o'm pen i'm traed,
Yn mhell parhaed i daenu 'i ddawn ;
Y Gwaed a ffrydiodd ar y groes
Yw sail fy oes am wynfyd llawn.

Mae cân
Yn ffynonellu 'n ddiwahan
Yn ei sancteiddiol ffrydlif lân,
Mae dwyfol dân yn odlau'i gor;
Mae'n chwyddo yn un anthem gref
O dan y nef fel grasol for.

Daw awr,
Trwy rin y Gwaed i deulu'r llawr
I wisgo eu gogoniant mawr;
Fe dyr y wawr—ffy'r noson ddu,
Daw etifeddion gras yn rhydd,
Yr olaf ddydd ddatguddia'r llu.

O'r bedd
Y cyfyd myrdd yn hardd eu gwedd
Ar ddelw'u Brawd, sef Brenin Hedd;
Pob un i'w sedd esgyna'n fad,
Y Gwaed! y Gwaed fydd bythol gân
Y dyrfa lân yn nhy ei Thad.

---

## *TWO THOUGHTS.*

Oh! what a world is this,
A world of pain and sorrow;
A world w[illegible]
W[illegible] [illegible]w;

A world to bleed the heart,
A world of desolation;
A world to keep apart
Each soul from consolation.

But wait, my soul, look far,
True is the blessed story,
There is a land where every star
Beams forth celestial glory;
This narrow sphere of life
Is joined to boundless measure,
Where all thy sorrow, woe and strife
Shall swell thy unstained pleasure.

---

## *TI, FY NUW.*

Ti, fy Nuw, ti yw fy Nhad,—afonydd
Yw'th fynwes o gariad;
Rhy bwl yw y meddwl mad
I dy godi'r Duw-Geidwad.

Ti a welaist heolydd—fy einioes
O fanau'r tragywydd;
Ti, Iesu, yw'm tywysydd
I wlad well ei hwyl a'i dydd.

Ti a luniaist oleuni—yr enaid,
Gwir anian adeni;
Daw fy enaid, ti fyni
Ynwy'n deyrn dy anian di.

Dy enw di dy hunan—yw yni
Yr enaid tlawd, egwan ;
Dy enw di, pe'r byd yn dân,
Yw ffyniant ei hoff anian.

Ior, agor, fi yw'r egwan,—ti biau
Ty bywyd anniflan ;
Byd o hoen, tanbaid anian
Fy Ior yw a'i oraf ran.

Daw'r enaid o'th dirioni—yn barod
Erbyn bore'r cyfri' ;
Daw'r gwanaf, er drygioni,
I'w holl ran yn llaw ei Ri.

Egyr dor hawddgar dwyrain—Paradwys,
Pryda, enaid mirain ;
Duw ydyw! caiff dy adain
Felus hwyl uwch lleddfol sain.

---

## *Y LLYWYDD A'I BRIOD.*

[CYFLWYNEDIG I MR. A MRS. WILLIAM R. WILLIAMS, SCRANTON, PA.]

Eisteddai'r cynulliad mewn hyder,
Chwiorydd a brodyr yn nghyd,
I ddarpar ar gyfer cael swper,
A hulio y byrddau yn ddrud ;

Edrychai y Llywydd yn serchog,
  A throai pob olwyn o dde,
A thaflu rhyw deimlad pur, gwresog,
  I fewn i'r cynulliad oedd e'.

Yn fuan gofynai yn bwyllog,
  "Pwy gymer y byrddau'n ddi-flin ?
Ymroddwch i'r gwaith yn galonog,
  Hel ymborth sydd raid cyn ei drin."
A bwrdd ar ol bwrdd a gymerwyd,
  A'r Llywydd siriolai bob un,
Ac yna cynygiwyd ac eiliwyd
  Bwrdd hefyd i'w Briod ei hun.

"Cymerwch chwi fwrdd," meddai'n dirion,
  "Cymeraf," medd llais fel y mel,
"Mi driniaf yr ymborth yn union,
  Ond gwyddoch, nis gallaf ei hel."
"Wel, yn sicr, rhaid dweyd," meddai'r Llywydd,
  A'i lygaid mewn llonder yn troi,
"Un dda wrth y bwrdd ydyw beunydd,
  Ond arall sy'n myn'd i grynhoi."

"Y chwi wrth y bwrdd," meddai'n siriol,
  "A mi i hel bwyd fel o hyd ;"
Ymdaenodd gwên fywiog, foddhaol,
  Dros wyneb y dyrfa i gyd ;
Mae yma wers bwysig, ond craffu,
  Gwers ddwyfol, mor gadarn a'r graig,
Mae'r nefoedd mewn hel a darparu
  Yr un modd a'r Llywydd a'i wraig.

